YR

# ARWEINYDD MEDDYGOL;

NEU

Gyfarwyddiadau Eglur i'r Cyffredin

MEWN

## MEDDYGINIAETH DEULUAIDD:

YN CYNNWYS

ARWYDDION A THRINIAETH AMRYWIOL GLEFYDAU,
CLWYFAU DAMWEINIOL,

*A doluriau yn gofyn triniaeth ddioed;*

HEFYD,

ARWYDDION A THRINIAETH GWENWYN MWNOL,
LLYSIEUOL, AC ANIFEILIG:

YN NGHYD A

## THRAETHIAD BYR

AR RINWEDDAU AC EFFEITHIAU AMRYWIOL O'R
CYFFURIAU MEDDYGOL.

---

GAN EDWARD EDWARDS.

---

Caernarfon:
ARGRAFFWYD GAN WILLIAM POTTER AND CO.

1838.

YR

# ARWEINYDD MEDDYGOL;

NEU

Gyfarwyddiadau Eglur i'r Cyffredin,

MEWN

## MEDDYGINIAETH DEULUAIDD:

YN CYNNWYS

ARWYDDION A THRINIAETH AMRYWIOL GLEFYDAU, CLWYFAU DAMWEINIOL,

*A doluriau yn gofyn triniaeth ddioed;*

HEFYD,

ARWYDDION A THRINIAETH GWENWYN MWNOL, LLYSIEUOL, AC ANIFEILIG:

YN NGHYD A

## THRAETHIAD BŶR

AR RINWEDDAU AC EFFEITHIAU AMRYWIOL O'R CYFFURIAU MEDDYGOL.

---

GAN EDWARD EDWARDS.

---

Caernarfon:

ARGRAFFWYD GAN WILLIAM POTTER AND CO.

1838.

# RHAGYMADRODD.

WRTH ystyried mor dderbyniol a llesol yw llyfrau cyffelyb i hwn yn mhlith y Saison, a chenhedloedd ereill, tueddwyd fy meddwl i ysgrifenu ychydig o gyfarwyddiadau, mewn modd mor ddealladwy ag y medrwn, yn yr iaith Omeraeg.

Gan fod y Cymmry yn fynych yn cyfarfod â'r damweiniau y sonir yn eu cylch yn y llyfryn hwn, a'r moddion i'w gwellhau, yn hawdd eu cael a'u defnyddio, ac hefyd yn unol â barn y gwŷr mwyaf dysgedig, profiadol, a chyfarwydd yn y gelfyddyd feddygol, yr wyf yn hyderu y derbynir fy llafur gan fy nghydgenedl yn gyffredinol, fel y gallo y naill weinyddu moddion addas i'r llall, ac iddynt eu hunain, pan y cyfarfyddont ag un o'r damweiniau neu y doluriau a grybwyllir yn y llyfryn hwn. Nid wyf wedi arbed llafur i wneuthur crynodeb o

hyfforddiadau mor fuddiol ag y medrwn, o fewn cylch mor fychan; fe wel ambell ddarllenydd, yn ngwyneb rhyw amgylchiad o bwys, fod *un* o'r cynghorion yn llawer mwy o werth na swllt. Llawer o'n cydgreaduriaid a gollasent eu bywydau mewn mwngloddiau, cloddfeydd llechi, &c. trwy dòri y gwaed-lestri, pryd na byddai llawfeddyg, na neb arall, yn y fan a allai attal y gwaed. Y mae y cyfarwyddyd i attal llifiad y gwaed, a rhai pethau ereill, wedi eu cymeryd o waith M. Mayor, meddyg enwog yn Ffraingc, yr hwn a anrhydeddwyd â thlws Cymdeithas Paris er helaethu gwybodaeth fuddiol. Gan fod Dr. Cutler wedi ystyried gwaith y gŵr enwog hwnw yn deilwng o'i gyhoeddi i'r Saison, hyderwn na fydd yr hyn a gymerwyd o hono yn annerbyniol gan y Cymmry: a chan fod cylch y llyfr hwn mor fyr, barnwyd yn fwy buddiol i draethu *ychydig* ar *amrywiol* o bethau, yn hytrach na dywedyd llawer ar yr *un* peth, fel y caffai y darllenydd gymaint ag a ellid mewn ychydig o le, ac am ychydig o arian; gan ddysgwyl, trwy hyny, y bydd i'r llyfr gael derbyniad mwy cyffredinol, ac, o ganlyniad, ateb mwy o ddyben i'r wladwriaeth.

Hyderwn y caiff llawer leshad yn y cyfarwyddyd i roddir i iachâu briwiau: llawer o foddion hollol anaddas a ddefnyddiwyd at friwiau a thoriadau, i beri ennyniad a marw-lygriad, yn enwedig mewn personau o gyfansoddiad afiachus.

Rhoddwyd yma rai o'r moddion goreu er attal ac esmwythâu y llosgfeydd mewn llosgiadau; ac nid ammheuwyf, os dilynir y rheolau, na fydd i lawer un gael gwellhad mewn yr un faint o ddyddiau ag a ddyoddefodd amryw ereill o wythosau. Y mae y cyfarwyddiadau er adferyd bywyd dynon wedi boddi, &c., yn unol â rheolau Cymdeithas Ddyngarol Llundain, ac wedi bod yn effeithiol lawer gwaith i adferu bywyd, pan fyddai y claf yn *ymddangos* fel wedi marw.

Y mae y driniaeth er gwrthwynebu effeithiau marwol rhai o'r darpariadau gwenwynig, yn cynnwys y moddion goreu a wyddis am danynt. Dichon y barna rhai fod yr hyn a grybwyllwyd yn eu cylch yn hollol afreidiol, ond pan y canfyddant mor aml y maent yn cael eu cymeryd (yn enwedig yr *arsenic*, yr hwn a arferir i ladd llygod), a pha mor aml y mae plant a phobl anwybodus wedi cymeryd tamaid marwol o hono, y mae yn ddilys

yr ystyriant o'r pwys mwyaf i gael gwybodaeth am foddion addas i attal eu heffeithiau gwenwynig, a chadw bywyd y claf. Heblaw rhai pethau gwenwynig ereill, mi a adewais heibio arwyddion a thriniaeth meddwdod heb eu crybwyll yn y llyfr, gan obeithio y bydd y cymdeithasau dirwestol yn foddion digon effeithiol i ennill meddwon y byd yn sobr am eu hoes.

Am frathiadau nadroedd, gellir sicrhau fod y driniaeth yn ddigon effeithiol yn y deyrnas hon; ond mewn brathiadau nadroedd tramor, y rhai ydynt fwy gwenwynig, y mae meddygon yn arfer moddion cryfach, yn enwedig yn dufewnol.

Am y driniaeth mewn brathiad cwn cynddeiriog, y mae wedi cael ei ddilyn gyda llwyddiant bob tro ei harferwyd mewn pryd, er nad oes un feddyginiaeth sicr ar ol i arwyddion o'r gynddaredd ddechreu; ond hyderwn os bydd i'r gelfyddyd feddygol gynnyddu cymmaint ag a wnaeth yn y blynyddoedd diweddaf, y bydd moddion digon effeithiol i wellhau yr afiechyd hwnw wedi cael ei amlygu i'r byd yn gyffredinol.

Rhoddwyd ychydig gyfarwyddyd yn nghylch y modd goreu i ddefnyddio amryw o'r darpariadau

meddygol a arferir yn gyffredin yn deuluaidd, yn enwedig gan y rhai hyny ag sydd yn alluog i ddarllen awduron Seis'nig. Mae y maes hwn mor helaeth fel na ddichon i ni gynnwys y cyfan heb chwyddo y llyfr yn ormodol, gan fod y Crëawdwr doeth a da wedi gweled yn dda greu cymaint nifer o honynt er lles dyn ac anifail. Y mae coed, llysiau, a mwnau yn dangos ei ddoethineb a'i allu crëedigol, ond yr oedd gosod y fath *rinweddau* ynddynt, yn dangos ei ragwybodaeth am y doluriau a ddaeth i'r hil ddynol drwy y cwymp, a'i ewyllys da yn trefnu moddion addas i'w meddyginiaethu: eto, fel y dywed Gutyn Peris,

"Aml ddail fel y mêl ddiliau—ddibrisir,
Y rhai ni wyddir eu rhinweddau."

Y mae yn ddiammau pa fwyaf o wybodaeth a gyrhaeddir yn gyffredinol yn y meddyginiaethau neu y physygwriaethau a ddefnyddir genym, mai mwyaf oll o hyder a fydd gan y cleifion yn eu meddygon. Gellir profi hyn yn eglur trwy ddull mawrion ein gwlad, er eu bod yn arfer darllen llyfrau meddygol, eto hwy yw y parotaf i anfon am y meddyg yn brydlawn, gan eu bod yn fwy ystyriol nag ereill am y canlyniad o oedi yn rhy ddiweddar.

Hwy hefyd a allant ffurfio barn gywiraf am fedrusrwydd meddygon, os dewisant wneuthur hyny yn ddiduedd; ond y maent hwy yn *agored* i gael eu twyllo fel dynion ereill, gan fod rhai o'r gelfyddyd hòno, fel pob celfyddyd arall, a mwy o ddawn i *ddywedyd* am y gwyrthiau a wnant nag a allant ddangos mewn gweithred. Ond y mae meddyginiaeth yn faes mor helaeth, fel y gall y dyn mwyaf ei alluoedd gael digonedd o waith am ei oes, cyn y cyrhaeddo i wybodaeth berffaith o honi; er hyny, gall dynion gyrhaedd gwybodaeth *gyffredinol* mewn byr amser, fel y gallont wneud llawer o les i'w cyd-ddynion. Hyderaf yr ateba y llyfryn hwn *beth* o'r dybenion daionus hyny, ac y bydd y Cymmro uniaith cyn hir mor helaeth ei fanteision, yn mhob cangen o wybodaeth fuddiol, ag ydyw y Saison yn bresenol.

E. EDWARDS.

Maentwrog, Ionawr, 1833.

# CYNNWYSIAD.

---

## CYFARWYDDIADAU, &c.



## CYFFURIAU MEDDYGOL.

CYFFURIAU MEDDYGOL.—PARHAD.

YR

# ARWEINYDD MEDDYGOL.

## MODDION I ATTAL RHEDIAD GWAED.

Pan y dygwyddo damwain, yn yr hon y bydd llifiad gwaed yn gosod y person a anafwyd mewn perygl o golli gormodedd o waed, i'r fath raddau nes ei wanhau, gellir ei attal trwy roddi un neu ddau o'r bysedd, yn ol maint yr archoll, ar y man y byddo y gwaed yn rhedeg o hono, a hyny am ychydig fynydau, hyd nes y caffer moddion gwell yn barod.

Ac mor fuan y byddo modd cael papyr gwlyb, carth, lint, ysbwng, hen liain, neu gotton, (y mae pob un o honynt yn dda, ac y mae yn addas nodi amrywiaeth, rhag y dygwydd yn llawer man fod yn anghyfleus cael rhyw *un* o honynt, pan y byddo y galwad prysuraf am danynt,) llanwer neu orchuddier y clwyf âg un o'r pethau a nodwyd yn ddioed; ond os gellir cael yspwng dylid rhoddi y flaenoriaeth iddo; o herwydd ei fod yn haws ei roddi yn yr archoll, ac hefyd yn llanw yr archoll yn fwy cyflawn ar ol ei roddi, am ei fod yn ddefnydd gwrthneidiawl, fel y gellir ei wasgu i'w roddi yn yr archoll, ac yn adlamawl i'w lanw ar ol ei roddi.

Ond i'r dyben i wneuthur y moddion a enwyd yn fwy effeithiol; os bydd torchenau o waed yn y briw, fe ddylid ei symud ymaith, a golchi y briw â dwfr oer, er mwyn cael gweled gwaelod yr archoll mor eglur ag y byddo modd, a rhoddi un o'r moddion a enwyd yn uniongyrchol ar y *wythïen* neu y *rhedweli*, ac nid ar y ceulad neu y dolchen waed. Y mae glanhau briw yn ofalus yn fynych yn foddion i attal y gwaed.

Ar ol rhoddi un o'r moddion a nodwyd yn y toriad, cadwer hwy yn eu lle priodol trwy eu rhwymo â chadach wedi ei blygu yn yr un dull ag y gwisgir ef am y gwddf—fe wna unrhyw rwymyn cyffredin, megys gardysau a'r cyffelyb, y tro.

Os na fydd y moddion a enwyd uchod yn ddigonol i attal y rhediad, tŷner hwynt ymaith oddiwrth yr archoll, a phwyser â'r bŷs neu y fawd ar yr archoll, neu o gylch modfedd neu lai oddiarno ac odditano, hyd nes y caffer gafael mewn llaw-feddyg, neu ryw un cyfarwydd â thriniaeth damweiniau o'r fath.

Os bydd y gwaed yn llifo o'r *rhedweli* (artery) fe ddylid pwyso neu wasgu rhwng yr archoll a'r galon; ond os o *wythïen* y bydd yn rhedeg, pwyser yn y gwrthwyneb i hyny. Wrth bwyso felly gellir attal llifiad gwaed am amryw oriau. Gan y bydd pwyso felly yn barhaus am hir amser yn waith blinedig i un, da fyddai cael dau neu dri i newid â'u gilydd, hyd nes y ceir gafael ar law-feddyg i wneuthur pob peth yn ddyogel.

Ond os bydd yr archoll yn ddwfn a hir, ac yn

gofyn moddion ychwanegol er gorchfygu y lliñad, rhodder yr offeryn a elwir *tourniquet* am yr aelod; ond os na ellir ei gael, gellir arfer y moddion canlynol,—cymerwch gadach gwddf, a phlygwch ef y modd y gwisgir ef am y gwddf, a chylymwch rwymyn neu ardas wrth bob pen iddo, a phlygwch gadach arall neu liain yn llawer o blygion fel y byddo yn lled dew, a rhodder ef ar gyfer y prif lestr gwaed neu y rhedweli, sy'n rhedeg oddifewn i'r aelod, yr hon a ellir ei theimlo â'r bysedd gan ei churiad (*pulsation*), ac yna rhwymwch yr aelod yn dýn â'r cadach cyntaf, a chylymwch ef ar gyfer y lliain neu y cadach plygedig, fel y byddo i'r cwlwm gydwasgu â'r plygion ar y rhedweli.

Neu ynte, cymerwch gadach wedi ei blygu, a rhoddwch gwlwm dwbl ar ei ganol, a gosodwch y cwlwm ar gyfer y prif-lestr, neu y rhedweli sydd eisiau ei gwasgu, a throwch ei benau o amgylch yr aelod, a thros y cwlwm, a gwnewch ef yn ddyogel trwy ei bwytho, neu osod pinau yn ei flaenau.

Ni bydd un anhawsder i wybod pa le i wasgu ar y *tourniquet*, neu ar y moddion ereill a ddefnyddir yn ei le, pan y deallir fod y brif redweli yn myned ar i waered ac oddifewn i'r aelod o ganol un cymmal i un islaw; er esiampl, o ganol twll y gesail i gamedd y fraich, ac o gesail y forddwyd i ben y glin: yn y ddau le a enwyd, y mae y curiad (*pulsation*) i'w deimlo yn eglur; a thrwy bwyso â'r fawd ar y rhedweli yn y manau hyn, a'u gwasgu ar gyfer yr asgwrn, neu gymeryd plygion o hen liain o dan y

fawd, a gwasgu yr un modd, gellir attal rhediad y gwaed o'r aelod hyd yn oed pan fyddo yn rhedeg yn y modd mwyaf dychrynllyd.

Ond y moddion goreu yn ddiamheuol ydyw naill ai rhwymo neu nydd-droi y rhedweli doredig ychydig oddiar y toriad; y drefn hon a arferir yn gyffredin gan law-feddygon. Os na ellir cael neb a all wneuthur hyn, y ffordd oreu yw arfer y moddion a enwyd yn flaenorol, y rhai a fyddant yn ddigon effeithiol i attal y rhediad mwyaf dychrynllyd, hyd nes y ceir llaw-feddyg. Nid yw yn hollol anfuddiol i grybwyll, cyn myned yn mhellach, am yr arferiad cyffredin o waedu ar y fraich, y dichon iddi weithiau fyned i ail waedu, a hyny ar ol i'r gwaedwr neu y llaw-feddyg fyned ymaith, naill ai o achos i'r rhwymiad fyned yn rhydd, neu ynte am ei bod wedi ei rhwymo yn dŷnach uwchlaw nag islaw y man yr agorwyd y wythïen.

Pan y dygwyddo waedu, tŷner y rhwymyn ymaith, a golcher yr agoriad â dwfr oer; a phwyser â'r fawd islaw i'r agoriad, hyd nes attal y gwaed i lifo o hono; ac yna rhodder llain main ac *adhesive plaster*, neu *diachylon*, wedi ei daenu yn deneu ar liain, a gosoder ef ar draws yr archoll, fel ag i gadw ei ymylau yn gyfagos y naill at y llall; a thrachefn rhodder hen liain wedi ei ddyblu arno, a rhwymer y fraich i fynu fel o'r blaen, ar ddull *figure* 8, ar y man y byddo y rhwymyn yn croesi tu blaen i'r fraich ar gyfer i'r archoll yn y wythïen, a chadwer y fraich yn lled blygedig a llonydd.

Pigiadau gelod yn aml sydd yn achosi colli llawer o waed, ac yn dra anhawdd ei attal, yn neillduol mewn plant, a phobl o gyfansoddiad tyner. Os na ellir ei attal a'r moddion arferol, coder y croen o amgylch y pigiad i fynu yn raddol a'r ewinedd; a gorchuddier y pigiad, neu y twll a fydd yn gwaedu, â mân bowdr golosgoed (*powdered charcoal*), neu bowdr alum, neu yr hyn sydd yn llawer gwell ychydig o lint, neu yspwng wedi ei wlychu mewn gwirod. Fe fydd llaw-feddygon yn arfer sugn-wydr, neu *lunar caustic*, neu wïalen boeth i losgi y twll neu y pigiad; ac ar rai prydiau byddant yn rhoddi nodwydd trwy y glasgroen oddiar y pigiad, yr hyn sydd yn cau y twll i fynu, ac o ganlyniad yn attal rhediad y gwaed o hono yn ddiatreg.

Gellir gwneuthur yr un a fynir ai gadael y nodwydd yn y croen, neu roddi edef sidan ynddi, a rhoddi pwyth ynddo, neu adael y nodwydd yn ei lle, a rhoddi edef yn ei dau ben i'w gwasgu.

Y peth pwysicaf i sylwi arno yw gofalu am gadw y person a archollwyd yn hollol lonydd, er mwyn cadw y moddion a osodwyd ar y briw, a'r rhwymyn, yn eu lle priodol, ac i edrych yn ofalus rhag y bydd i'r archoll ail-waedu; a gofaler yn neillduol, os bydd y rhwymyn yn llacau, am ei *dynhau* yn raddol; neu os bydd yn rhy dŷn fel ag i achosi chwydd a phoen yn yr aelod, am ei *llacau* yn raddol. Gofaler hefyd yn bendifaddeu i beidio rhoddi i'r goddefydd unrhyw fwydydd na diodydd o duedd i gynhyrfu a gwresogi. Dylai lwyr-ymattal oddiwrth bob diodydd

meddwawl, a pheidio arferu unrhyw ddiod ond dwfr glân yn unig.

---

## AM DRINIAETH BRIWIAU A THORIADAU.

Yn gyntaf, glanhewch a golchwch y toriad oddiwrth bob peth anmherthynol a ddichon fod ynddo, megys pridd, llwch, neu fân gèrig, a tholchenau o waed. Os bydd yn gwaedu, gellir attal y gwaed â'r moddion a enwyd: a gosodwch ochrau y clwyf briwedig mor agos at eu gilydd, ac mor gynted, ag y byddo modd: a chadwer ochrau y clwyf mewn undeb â *diachylon*, neu *adhesive plaster*, wedi ei dòri yn lleiniau cul, a'u gosod o'r naill ochr i'r llall o'r tòriad; a gadewch ychydig o derfyn rhwng y naill a'r llall. Gan, os bydd y toriad yn crawni, gall y crawn gael lle i redeg allan. Ar ol gosod y cymmrwd fel y nodwyd, rhoddwch hen liain yn blygion arnynt, a rhwymwch yr aelod â rhwymyn, neu gadach plygedig, i'w gadw yn ei le priodol. Cadwer yr aelod yn llonydd, ac yn yr ystum goreu er i ochrau y toriad fod mor agos i'w gilydd ag y byddo modd: ac na symuder y peth a osodwyd wrth y toriad am dri diwrnod. A phan y byddwch yn ei symud ef, golchwch ef â dwfr clauer, a thynwch ef ymaith yn araf, rhag i'r clwyf agor; ac yna glanhewch a thriniwch y toriad fel o'r blaen.

Os bydd ennyniad yn dyfod yn mlaen, gwlycher y clwyf trwy y rhwymiadau â dwfr oer yn lled fynych, a rhodder gelod o amgylch y clwyf a *phoultice*,

neu sugaethan, o fara gwyn wedi ei ferwi mewn dwfr, ac ugain dyferyn o *Goulard's extract of lead*, a'r un faint o *laudanum* ynddo; cofier gosod lint ar dyllau y gelod cyn gosod y *poultice*. Y mae *Friar's balsam, tincture of myrrh*, a phethau poethion ereill a arferir gan rai yn bethau hollol anaddas i'w rhoddi mewn toriadau newyddion.

Y mae *alum* wedi ei doddi mewn dwfr cynhes yn well i attal gwaed mewn briw newydd ei dori.

Os bydd y toriad yn ddwfn, ac yn anhawdd cael ei ymylau yn agos at eu gilydd, gellir rhoddi dau neu dri o bwythau ynddo: ni ddylai y pwythau fod yn agos iawn at eu gilydd; ni ddylid ychwaith gylymu un o'r pwythau nes cael pob edef trwy y croen, fel y byddont yn cydwasgu wrth eu cylymu i gael y croen yn nghyd. Ar ol cylymu y pwythau, rhodder yr *adhesive plaster*, wedi ei dori yn lleiniau, ar y toriad, a lint neu hen liain yn blygion ar y rhwymyn am yr aelod yr un modd ag o'r blaen. Gellir cael *adhesive plaster* yn *mhob* siop druggist, ac mewn *llawer* o siopau ereill.

---

## AM DAN-LOSGIADAU A BERW-LOSGIADAU
## (*Of Burns and Scalds*).

Y mae o'r pwys mwyaf mewn damweiniau o'r fath ag yw llosgiadau trwy dân, neu ferw-losgiadau trwy ddwfr berwedig, i gael gafael yn y moddion cyfaddas yn *ddioedi* i ddiffodd y tân, esmwythâu poenau y dyoddefydd, ac i'w rhwystro i godi yn chwysigod

mewn gwlyblosgiad. Os na fydd dim moddion ereill i'w cael yn uniongyrchol, golcher y man llosgedig mewn dwfr oer, a rhodder llian yn wlyb o ddwfr oer ar y fan, a chymerer megin i chwythu arno hyd nes y byddo yn gwbl oer.

Y mae y moddion canlynol yn dra rhagorol i attal y llosgfeydd, ac i rwystro iddo godi yn chwysigod, os arferir ef mewn pryd. *Spirits of wine, camphorated spirits of wine, spirits of turpentine.* Gwlycher y rhan a losgwyd yn bur aml ag un o'r moddion uchod hyd nes yr esmwythâo. Canmolir gwinegr gan lawer i'r un perwyl. Ond, ysgatfydd, fod y cynghor canlynol, ond ei arferu yn uniongyrchol, yn un o'r rhai goreu yn y byd, a chadw lliain gwlyb o hono i'w gadw yn barhaus ar y fan.

Cymerwch spirits of wine, un owns
laudanum, un dram
Goulard's extract, haner dram
dwfr, haner pint

Cymysgwch hwy yn nghyd.

Os bydd i'r llosgiad godi yn chwysigod, cymerwch *linseed oil* a *lime water*, tair owns o bob un, a chymysgwch yn dda, a rhowch lint neu hen liain yn wlyb o hono ar y llosgiad; neu cymerwch yr eli canlynol:—

Oil of turpentine, haner owns
Resin ointment, pedair owns.

Gofaler am eu cymysgu yn dda, a thrwsio y llosgiad ag ef nos a boreu, a gofalu am ei osod ar liain glân bob tro.

Cadwer corph y claf yn agored ag *Epsom salts* a thê *senna,* a gofaler am gael meddyg cyfaddas i olwg y claf, er mwyn cael moddion cyfaddas i attal y dwymyn, neu arwyddion anffafriol ereill a ddichon ymddangos, yn enwedig mewn llosgiad dwfn.

---

## ATTALIAD BYWYD.

### Y MODDION ER ADFERIAD BYWYD WEDI BODDI.

Anfoner am feddyg yn ddioed; ond nac oeder er dim y moddion canlynol: yn gyntaf, trosglwydder y corph i'r tŷ agosaf, gan gynnal y pen a'r ysgwyddau i fynu. Dyosger y corph o'i ddillad gwlybion, a sycher a rhwbier ef yn dda; a rhodder ef mewn gwely cynhes, a gwrthbanau twym arno; ac os bydd modd cael yr *ystafell* yn gynhes hefyd, goreu oll. Glanhaer y genau a'r ffroenau, a chadwer hwy yn rhydd ac yn agored.

2. I'r dyben o adferu gwres naturiol y corph, symuder padell dwymno *(warming-pan)* gynhes yn ol ac yn mlaen ar hyd ei gefn; a rhodder potteli, neu chwysigod a dwfr poeth ynddynt, neu bridd-feini cynhes wrth bwll y cylla, a'r ceseiliau, rhwng y cluniau, ac wrth wadnau y traed.

3. Twymn-eneinnier y corph â gwlaneni poethion.

4. Gosoder y corph mewn dwfr cynhes os gellir ei gael; dylai y dwfr fod cyn boethed ag y gellir dy-oddef llaw ynddo, yr hyn sydd lawn cystal ag un moddion i adferu gwres i'r corph.

5. Rhwybier y corph yn barhaus, tra y byddo yn y dwfr hwn.

Adferiad pwysig yr ysgyfaint a ddylid yn nesaf amcanu ato, a hyny trwy yru awyr â megin trwy un ffroen i'r ysgyfaint. Dylai y ffroen arall a'r genau gael eu cadw yn nghauad gan un o'r cynnorthwywyr, a dylai un arall wasgu yr asenau i lawr mor gynted y bo eu dyrchafiad yn amlygu ehangiad yr ysgyfaint.

Fe ddylid parhau i weithredu yn y modd hyn hyd nes yr adferir bywyd, neu am ddwy awr, beth bynag, os na fydd bywyd yn ymddangos. Gofaler yn barhaus am wasgu yr asenau, er gollwng yr awyr ymaith o'r ysgyfaint; dylid gofalu y pryd hyny i bwyso y tafod ychydig i lawr, a thynu arno yn mlaen, er mwyn i'r anadl gael myned i mewn i'r gwddf, ac fe ddylai y meddyg gynhyrfu gweithrediad y galon, gan yru trwy ei hamgylchoedd ergydion gwefrbeiriol *(electric shock)* o'r ochr aswy i'r ochr ddehau, ac o'r ddwyfron i'r cefn, yn gylchynol. A rhoddi haner pint o frandi a dwfr cynhes, neu win a dwfr cynhes, yn y cylla â chwistrell, trwy bibell ystwyth—a chynhyrfu yr ymysgaroedd, trwy daflu i fynu â chwistrell bint o ddwfr twymn, a dwy neu dair owns o halen wedi ei ddadlaith ynddo; a gosoder *sabolatile* neu *hartshorn* wrth y ffroenau, a chymysger yr un faint o *spirits of hartshorn* a *sweet oil*, i rwbio y corph âg ef mewn gwahanol fanau. *Galvanism* a ganmolir yn fawr er adferu bywyd, ac os metha y moddion a enwyd, dylid ei arfer, gan ei fod yn rhagori ar un offeryn adnabyddus yn ei effeithiau ar y

gewynau, a rhanau ereill o'r corph, fel y gwna i gorph marw wneuthur ystumiau fel pe byddai yn fyw.

Na feddylied y darllenydd ein bod yn golygu un moddion dynol yn ddigonol i adferu dynion wedi meirw yn hollol. Gallu Duw yn unig a all hyny; ond y mae genym ddigonedd o brofion diamheuol fod y moddion a nodwyd uchod wedi adferu bywyd i laweroedd oeddynt yn *ymddangos* fel rhai wedi meirw er ys talm.

---

2.—ATTALIAD BYWYD TRWY YMGROGI.

Symuder pa beth bynnag a fyddo yn gwasgu y gwddf yn ddioed; a chymerer megin a llanwer yr ysgyfaint âg awyr. Gollynger ef ymaith drachefn, yr un modd ag y gwneir â dynion wedi boddi. Ac mor gynted y byddo i'r corph adfywio, a chylchrediad y gwaed gael ei adferu, dylid gollwng gwaed o'r arlais, y fraich, neu y gwddf, neu roddi sugn-wydr ar y gwegil i dynu tair neu bedair owns o waed. Os bydd y person yn ymddangos yn chwyddedig a gwridog yn ei wyneb, ac heb fod yn nghrog yn hir, gellir ei waedu yn ddioed.

---

## AM DRINIAETH Y RHAI A DAREWIR GAN FELLT.

Er fod llawer o ddynion na fydd arnynt ddim ofn mellt pan fyddont allan ar eu taith, mwy na phe

byddent yn eu tai, er hyny hwy a chwenychant yn naturiol gael lle i lechu rhag y gwlaw a fydd yn dilyn y taranau a'r mellt. Am hyny os na fydd tŷ yn agos, hwy a lechant o dan y pren agosaf a ganfyddant. Wrth wneuthur hyny y maent yn gosod eu hunain mewn perygl dau ddyblyg. Yn gyntaf bydd eu dillad yn cael eu cadw yn sych, a thrwy hyny bydd eu cyrph yn fwy tueddol i gael eu niweidio; o ran fe fydd y mellt yn gyffredin yn myned dros gyrph ag y byddo eu hârwyneb yn wlybion, heb wneuthur dim niwaid iddynt. Yn ail, am fod coed, a phethau uchel ereill, yn naturiol yn tynu y mellt attynt, yn hytrach na'u cadw draw; am hyny yn lle chwilio am le i lechu o dan goeden, tas wair, colofn, gwal, neu glawdd, dylai y person a fyddo allan yn yr ystorm fyned yn mlaen i'r tŷ agosaf, neu i ganol cae, na byddo dim ynddo i dynu y mellt tu ag ato, ac aros yno hyd nes elo yr ystorm heibio.

Y mae yn beryglus neillduol i sefyll yn ymyl lidiardau haiarn, neu ryw offeryn arall a wnaed o haiarn neu blwm; y maent yn dra pheryglus pan fyddo mellt yn goleuo. Mwnai o bob math sydd a thuedd cryf ynddynt i dynu y mellt atynt. Yn gyffredin y maent yn eu tywys allan o'u llwybr priodol. Pan y byddoch mewn tŷ ar amser taranau, gochelwch sefyll wrth y drws, neu y ffenestr, neu y mur. Pa agosaf y byddoch i ganol y tŷ, dyogelaf oll a fyddwch. Pan y tarawer un gan fellten dyosger ei ddillad, a thafler ysteneidau o ddwfr oer drosto, am ddeng mynyd neu bymtheg; dylai y corph gael

ei rwbio yn barhaus, a rhoddi ergydion gwefr-beiriol tyner *(electricity)* i fyned trwy y frest, os gellir cael y peiriant, a pherson gwybodus i'w ddefnyddio. Ehanger yr ysgyfaint hefyd â megin, megys y cyfarwyddyd yn achos boddiad. Gosoder hefyd gymmrwd pothellog *(blister)* ar y ddwyfron. Byddai yn fuddiol i bawb gyda golwg ar yr holl ddamweiniau a nodwyd, i weddïo yn ngeiriau y weddi gyffredin, gan ddywedyd, " Gwared ni Arglwydd daionus."

---

## YMODD I DRIN PERSONAU A FO'NT WEDI DYODDEF OERFEL TRWM.

Dylid dwyn y person, neu y personau a fyddo yn fferedig gan oerfel, i ystafell lle na byddo dim tân, a'i rwbio âg eira, neu drochi â llieiniau o ddwfr oer. Ar ol y driniaeth hon dylid twymno dwfr, a hyny yn raddol iawn, o fesur ychydig ac ychydig; oblegyd y mae yn berygl bywyd rhoddi y corph mewn dwfr rhy boeth, nac yn agos i dân pan yn fferedig gan oerfel. Dylid cymeryd y gofal mwyaf i'w dymheru yn araf. Dylai rhyw beth o natur adfywiol *(stimulating)* gael ei gymhwyso at y gwefusau a'r ffroenau.

Dylid chwythu gwynt i mewn i chwyddo yr ysgyfaint, fel yn achos boddiad. Pan y dadebro, ac y dychwelo gwres naturiol y corph, dylai y dyoddefydd gael ei roddi mewn gwely, a'i orchuddio yn ofalus mewn gwrthbanau sychion, a'r corph gael ei

rwbio yn dda gydag ysgubell gyfaddas i'r perwyl, a elwir *flesh brush.*

Gellir hefyd rhoddi iddo ychydig o win gwan a dwfr, neu weinyddu meddyginiaeth chwistrellaidd (*clyster*), yn cynnwys ychydig o win, neu ryw beth gwan ac o duedd i wresogi. Dylai ofalu am gymeryd rhyw ymborth gwanaidd, am ryw enyd o amser ar ol ei adferu.

Pan fyddo rhai o'r aelodau wedi rhewi, dylai y cymhwysiad o'r eira, &c., gael ei gyfyngu i'r rhanau hyny yn unig, a'i rwbio nes y byddo yr aelodau yn cynhesu. Cymeryd haner llonaid llwy dê o *hartshorn* mewn glasiad o ddwfr a allai wneuthur lles mawr, neu gymeryd ychydig o ryw wirod gwan gyda dwfr.

Y mae y morwyr, sydd yn arfer mordwyo i wledydd oerion, yn gwybod yn dda am aethau gerwinol yr oerfel, yn nghyd â lles y fath driniaeth a nodir yma—y mae pethau distadl mewn ymddangosiad yn feddyginiaeth gwerthfawr yn fynych. Dichon cyfarwyddyd fel hyn ymddangos yn beth chwithig a distadl i rai o ddarllenwyr y llyfr hwn, mor ddiwerth, mae yn bosibl, ag ydoedd ymolchi yn nyfroedd yr Iorddonen yn ngolwg Naaman y Syriad.

---

## YN NGHYLCH GWENWYN.

Gellir ystyried gwenwyn o dan dri phen gwahanol, hyny yw, mwnol, llysieuol, ac anifeilig. Heblaw gosod ger bron y darllenydd rai o'r darpar-

iadau gwenwynig, y rhai a arferir gan ddynion er niwaid iddynt eu hunain ac ereill, neu a gymerir mewn camsyniad, â'r moddion goreu er gwrthwynebu eu heffeithiau marwol. Gosodwn hefyd rai o'r arwyddion sydd yn eu canlyn, wrth yr hyn y geill y darllenydd craffus wybod pan y dygwyddo rhyw rai eu cymeryd; a pha feddyginiaeth a fydd yn fwyaf llesol er atal eu heffeithiau gwenwynllyd. Yn mhlith y gwenwyn penaf o blith cyffuriau meddygol, gellir nodi y rhai a ganlyn, megys *oil of vitriol*, *aqua-fortis*, *spirits of salts*, *oxalic acid*, *arsenic*, a *sublimate*.

ARWYDDION.

Blas sur a llosgedig yn y genau, poen llym a llosgedig yn y gwddf, ac i lawr i'r cylla a'r ymysgaroedd. Yr anadl yn ddrewedig, yn cyfogi dwfr-waed yr hwn a ddyferwa pan syrthio ar *chalk*, neu ar lawr pridd, y genau yn archolledig, yr ymgarthiad fydd yn fynych yn gymysgedig â gwaed, poen llym yn yr ymysgaroedd, a'r bol yn ddolurus iawn oddiallan—yr anadl yn fyr—y traed a'r dwylaw yn oerion, a chwys oer ar y wyneb—tuedd i arllwys lleisw, ond yn methu—syched mawr, eto y boen yn ychwanegu wrth yfed,—curiad y galon yn wan ac anwastad—gwedd y wyneb yn gyfnewidiol—y claf yn cael ei flino gan igian a dirdyniadau tost.

Y DRINIAETH.

Cymysger un owns o *calcined magnesia* mewn chwart o ddwfr, a rhodder llonaid gwin-wydr o hono

i'r claf i'w yfed bob mynyd neu ddau. Os *oil of vitrol* a fydd y gwenwyn, fe wna *carbonate magnesia* y tro yn well na'r *calcined magnesia.* Os na ellir eu cael, cymysger dwfr a *chalk*, neu ddwfr a sebon, wedi hyny dylid anog cyfog, trwy wthio bys neu bluen i mewn i'r gwddf, a gellir rhoddi tê had llin i'r claf i'w yfed, a bydd yn fuddiol rhoddi y *magnesia* mewn *glyster*, yn gystal a'i roddi trwy y genau. Os bydd ennynfa (*inflammation*) yn dyfod yn mlaen, rhodder gelod wrth y gwddf a'r cylla, neu waedu yn ol y byddo nerth y claf. Bathier y rhanau dolurus â gwlaneni o ddwfr cynhes yn bur aml.

Pan fyddo *oxalic acid* wedi cael ei gymeryd, fe ateba *chalk* a dwfr yn llawn cystal a *magnesia.*

---

## POTASH, SODA, HARTSHORN.

### ARWYDDION.

Yr arwyddion sydd yn dra chyffelyb i'r rhai a ganfyddir mewn personau ar ol cymeryd *vitriol*, yn nghyd â'r cyffuriau ereill a enwyd o dan y pen hwnw, ond fod y rhai hyn yn effeithio mwy ar y gwddf, a'r hyn a gyfogir yn cymeryd dim effaith ar bridd a *chalk*; ond fe ddyferwa yr hyn a gyfogir gyda y suredd a nodwyd o dan y pen o'r blaen. Y mae yr *ammonia*, neu *hartshorn*, yn gweithredu yn fwy grymus nag un o'r ddau arall; y maent oll yn dueddol, pan y cymerer gormodedd o honynt, i effeithio gwallgofrwydd, a dirdyniadau dychrynllyd.

### TRINIAETH.

Gwneler i'r claf yfed llonaid gwin-wydr o ddwfr a sug lemon, neu lonaid llwy fwrdd o winegr, yn lled fynych; os na ellir eu cael, rhodder dwfr clauar iddo i'w yfed, a chyffröer cyfogiad, trwy wthio bys neu bluen i'r gwddf. Os gellir cael *olive oil*, bydd yn dra llesol, gan y gwna gymysgu â'r pethau a nodwyd, a ffurfio yn sebon, yr hwn a fydd yn hawdd ei weithio i fynu trwy gymeryd cyfogydd, cynnwysedig o 20 i 30 gronyn o *ipecacuanha*, mewn haner pint o dê *camomile*, neu gellir ei weithio i lawr i'r ymysgaroedd trwy gymeryd owns o *castor oil*, ond yn gyffredin, fe fydd i'r olew olewydd (*olive oil*) trwy ei ffurfio yn sebon, gynhyrfu y cylla i'w fwrw i fynu fel cyfogydd, heb gymeryd dim arall.

---

## YN NGYLCH GWENWYN MWNOL
## (*Mineral Poisons*).

*Arsenic* a gymerir gan lawer, naill ai mewn anwybodaeth, neu ynte i'r dyben o hunan-laddiad. Yr arwyddion, neu yr effeithiau, ydynt y pethau a ganlyn:—Pan ag y cymerir fel gwenwyn bydd blas mwnol a sur yn ei enau, a theimlad caethiwus yn ei wddf, a'r boen yn ychwanegu yn barhaus o'r genau i'r cylla, ac i'r ymysgaroedd. Tra mynych y bydd cyfogi, a'r hyn a gyfogir yn wyrdd-felyn; neu ar rai prydiau yn llwyd-goch, neu o liw gwaedlyd, a

thuedd i lesmeirio; gwres a phoen anghyffredin yn mhwll y cylla, neu fel y dyalla y cyffredin, pwll y galon. Yr ymgarthiad yn ddu; curiad y galon yn wan, buan, ac anwastad; ond mewn rhai personau yn araf iawn. Syched mawr; yr anadl yn fyr, a chaeth—y lleisw (sef gwneyd dwfr) yn goch, ac yn boenus iawn pan yn gwneuthur, ac ar rai prydiau yn methu ymadael â dim o hono. Y llygaid yn gochion, poen yn y pen, gwallgofrwydd, cwlwm gweithi; a dirdyniadau, yn gyffelyb i'r haint-ddygwydd (*epilepsy*) o flaen ymddattodiad neu farwolaeth y claf. Y mae yr arwyddion, yn enwedig y rhai cyntaf a enwyd, y llosgfeydd a'r cyfog, yn dechreu weithiau yn fuan ar ol cymeryd y gwenwyn, weithiau yn mhen pymtheg neu ugain mynyd; ond os na fydd ond ychydig o'r gwenwyn wedi ei gymeryd, fe fydd ei effeithiau yn hŵy yn ymddangos.

### TRINIAETH.

Rhodder i'r claf i'w yfed, naill ai dwfr oddiar galch, neu ynte ddwfr a *chalk* yn gymysgedig; ond os na fydd un o honynt wrth law, todder pwys o sebon mewn dau chwart o ddwfr, a rhodder chwarter pint o hono i'r claf i'w yfed bob tri mynyd neu bedwar: *sweet oil* a ganmolir yn fawr; powdr golosgoed (*charcoal*) a arferir yn gyffredin i'r dyben; ond os gellir cael y feddyginiaeth a elwir *hydrated tritoxide of iron*, yr wyf yn barnu ei fod yn haeddu y flaenoriaeth. Fe ddylai y claf gymeryd cymaint ddeg-ar-ugain o weithiau o hono ag a gymerodd o'r

gwenwyn. Ond pa foddion bynag a ddefnyddier, er gorchfygu ei effaith, gofaler am lanhau y cylla yn ddioed, trwy gymeryd y cyfogydd canlynol:—

Powder ipecacuanha, haner dram.

Sulphate of zinc, deg gronyn.

Rhaid eu cymysgu hwynt yn nghyd, a'u rhoddi mewn haner pint o ddwfr clauar. Ond y ffordd sicraf i gael y gwenwyn o'r cylla, a fydd cael cynhorthwy meddyg medrus i arfer yr offeryn a elwir *stomach pump*, a'r hwn y gellir golchi y cylla trwy yru dwfr oddiar galch, neu oddiar *chalk* i'r cylla, a'i gyfodi drachefn. Os bydd y claf yn sychedig, geill yfed llefrith, neu dê had llin. Barna llawer o feddygon fod *arsenic* yn dueddol i ladd, er ei gael i ffordd yn llwyr o'r cylla, gan ei fod mor dueddol i lidio y cylla a'r cyfansoddiad; am hyny, cynghorant i waedu ar y fraich yn ddioed ar ol ei gael i fynu, a gosod gelod ar bwll y cylla, os bydd gwres neu enynfa yn dyfod yn mlaen.

---

## CORROSIVE SUBLIMATE.

Y mae yr arwyddion pan y cymerer *sublimate* fel gwenwyn yn dra thebyg i'r rhai sydd yn dygwydd ar ol cymeryd *arsenic*, ond yn fynych yn dechreu yn gynt. Y moddion goreu i ddystrywio ei effeithiau gwenwynig ydyw gwynwy. Cymerer y gwynwy o ddwsin o wyau, a chymysger hwy mewn chwart o ddwfr oer, a chymerer chwarter peint o hono bob dau fynyd. Peilliad a dwfr hefyd a gan-

molir yn fawr; dylid arfer moddion i gyffroi cyfog ar ol cymeryd *sublimate*, a gwaedu os bydd gwres ac enynfa yn cymeryd lle. Gall y claf arfer yr un ddiod ag a enwyd o dan y pen o'r blaen, os bydd yn sychedig, ar ol cael ymadael a'r gwenwyn.

---

## PLWM.

### SUGAR OF LEAD, GAULARD, A WHITE LEAD.

Plwm gwyn *(white lead)* yw y mwyaf gwenwynig o un ddarpariaeth a wneir o blwm, er fod y darpariadau ereill yn dra gwenwynllyd. Y mae yr arferiad o gadw dwfr neu laeth mewn llestri plwm am enyd o amser yn dueddol i'w gwneyd yn wenwynig. Dyma yw *un* o'r achosion fod *cider*, *rum*, a gwin, yn *hollol* mor niweidiol. Dystillir *rum* yn yr India trwy bibellau plwm, a gwin wedi suro a bereiddir drachefn, gan ddarpariaeth o blwm, gan winwerthwyr yn Paris, a manau ereill.

Y mae Professor Thomson yn barnu nad yw un darpariaeth o blwm yn wenwyn uniongyrchol, ond fel y mae yn cael ei newid i'r *carbonate*, neu *white lead*, naill ai cyn ei gymeryd, neu wedi ei gymeryd i'r cylla.

### ARWYDDION.

Pan fyddo rhyw ddarpariaeth gwenwynllyd o blwm wedi ei chymeryd, bydd iddo wneuthur y corph yn anghyffredin o rwym, poen yn y cylla, a cholyddwst (*cholic*), a cyfog trwm, curiad y galon yn fychan a chaled; yr anadl yn boenus; yr aelodau

yn grynedig; ac fe ddiwedda yn barlys yn yr aelodau; ac weithiau yn marwolaeth y claf.

#### TRINIAETH.

Rhodder *castor oil* i agor ymysgaroedd y claf, a *chlyster* i gydweithredu; neu gellir rhoddi *Epsom salts*, neu *Glauber salts;* gellir dadlaith owns o un o honynt mewn chwart o ddwfr, a rhoddi llonaid gwin-wydr o hono i'r claf yn lled fynych. Fe wna *Epsom*, neu *Glauber salts*, y plwm yn ddieffaith, heblaw ei garthu o'r corph.

---

## COPR.

Y vitriol glas (*blue vitriol*), *verdigris*, *blue verditer*, a *mineral green*, ydynt wenwyn cryf: a bwydydd wedi eu berwi mewn llestr copr, a gadael iddynt sefyll yn y llestri dros yspaid o amser, ydynt yn dyfod yn dra gwenwynllyd. Heblaw yr arwyddion a enwyd o barth *arsenic*, fe fydd i'r claf ar ol cymeryd rhai darpariadau o gopr, mewn ffordd i fod yn effeithiol i'w wenwyno, ymddangos yn felyn dros ei holl gorph, a chylch glas o amgylch ei lygaid ar ol marw, ac weithiau fe fydd i'r arwyddion hyn ymddangos tra yn fyw, yn mhen 16 neu 24 mynyd ar ol ei gymeryd.

#### TRINIAETH.

Rhodder dwfr clauar i'r claf i'w yfed, gwnelir hefyd iddo gyfogi, trwy wthio pluen i'w wddf; ond

os gellir cael y *stomach pump* i lanhau y cylla, goreu oll. A rhodder *clysters*, neu *castor oil*, yn gymysgedig â dwfr a siwgr. Gwynwy yw y peth goreu i orchfygu y gwenwyn hwn o ddim a wyddis am dano eto. Gellir cymysgu gwynwy â dwfr a siwgr i'r claf i'w yfed bob tri mynyd neu bedwar.

---

## GWENWYN LLYSIEUOG
(*Vegetable Poisons*).

Pan y byddo dogn gormodol o *opium laudanum*, neu *paragoric*, wedi eu cymeryd, dylid attal y claf rhag myned i gysgu, trwy ei ysgwyd ef, a thrwy gymhwyso halen per-aroglaidd (*smelling salt*) at ei ffroenau, a dylid glanhau y cylla mor fuan ag y byddo modd, trwy roddi iddo ugain gronyn. neu haner dram o *sulphate of zinc*, wedi ei doddi mewn dwfr clauar, neu os metha hwn wneud i'r claf gyfogi, rhodder y cynhygiad canlynol iddo:—

Powder ipecacuanha, haner dram
Ammonia subcarbonate, un scruple
Peppermint water, tair owns
Tincture capsium, dau dram

Cymysger hwynt; a rhodder hwynt i'r claf fel cyfogydd. Ar ol i'r cyfogydd weithredu, gellir rhoddi sudd *lemon*, neu winegr a dwfr, neu goffi cryf, i'r claf i'w yfed yn fynych. A rhodder dwfr a halen, neu ddwfr a sebon, yn *glyster* iddo, neu goffi cryf.

D.S. Pan y byddo cegid neu ddail bysedd cochion, llewyg yr iar, neu lysiau gwenwynllyd ereill,

wedi cael eu cymeryd i ormodedd, arferwch yr un driniaeth ag o'r blaen.

---

## GWENWYN ANIFEILIG
### (*Animal Poisons*).

### CREGIN DUON (MUSCLES).

Yn mhen tair awr neu bedair ar ol bwyta cregin duon, os byddant yn wenwynllyd, fe deimlir anesmwythder dros yr holl gorph, yr hwn a ddilynir gan farweidd-dra, a thrachefn gan boen yn y cylla, syched mawr, a rhyw wrthwyneb yn barhaus yn y cylla. Os na fydd i'r claf gael cyfogi, fe chwydda y bol, ac fe fydd math o frech ar y gwyneb, ac weithiau dros yr holl gorph, ac yn ddiweddaf, gwallgofrwydd, dirdyniadau, a chwys oer.

#### TRINIAETH.

Rhodder haner dram o bowdr *ipecacuanha* mewn dwfr clauar i'r claf, ac anoger ef i gyfogi, trwy wthio pluen i'w wddf, a rhodder winegr a dwfr i'r claf i'w yfed. Brandi hefyd a ganmolir; ac y mae yn ddiammau mai gwydraid o frandi yw y peth goreu i'w gymeryd ar ol bwyta pysgod cregin duon; a phur anaml y teimlir dim o'r effeithiau gwenwynllyd, os cymerir brandi cyn i'r arwyddion a enwyd i ddechreu, llonaid llwy dê o *ether*, neu *salvolatile*, sydd yn hynod o dda i esmwythâu y boen.

Ar ol arfer y moddion a enwyd, fe ddylid rhoddi dogn helaeth o *sweet oil*, neu *castor oil*, i agor yr

ymysgaroedd. Os bydd enyniad yn dyfod yn mlaen fe ddylid gwaedu, neu os bydd yr wrwst (*spasm*) yn y cylla, rhodder dogn o *laudanum* yn ol oedran y claf.

---

## RHAG PIGIAD GWENYN NEU GACWN.

Rhwbiwch y fan â dwfr halen, neu â *spirits of hartshorn* a *sweet oil* yn gymysgedig.

---

## RHAG BRATHIAD NEIDR.

Rhwymer yr aelod a frathwyd, uwchlaw y brathiad, yn lled dŷn; a thrachefn tórer y rhan a frathwyd ymaith a chyllell lem, a gadawer i'r toriad waedu; a golcher ef â dwfr cynhes, a llosger y briw â *butter of antimony*, *lunar caustic*, neu *common caustic*, a thrachefn gorchuddiwch y briw â lint wedi ei wlychu mewn *spirits of hartshorn* a *sweet oil* yn gymysg.

Os bydd enyniad a chwydd yn dyfod yn yr aelod, gellir dattod y rhwymiad a fyddo uwchlaw y brathiad, ac iro y rhan chwyddedig â *sweet oil.* Arfer sugnwydr *(cupping-glass)* a ganmolir yn fawr os gellir ei gael, dylid ei ddefnyddio mor fuan ag y tórer y rhan frathedig i ffordd. Ar ol trin y clwyf rhodder y claf mewn gwely, a digon o ddillad arno i gael iddo chwysu, a gwin a dwfr cynhes yn ddiod iddo, yn nghyd a'r feddyginiaeth ganlynol:—

Ammonia carbonate, haner dram
Spirit mindererus, dwy owns
Mixture camphor, pedair owns

Cymysger hwynt; a rhodder dwy lonaid llwy fwrdd o honynt i'r claf bob dwy awr neu dair.

---

## BRATHIAD CI CYNDDEIRIOG.

Tòrer y rhan frathedig ymaith yn llwyr, a golcher y briw â dwfr cynhes i gael iddo waedu, a rhwbier y briw â *caustic*, a rhodder sugaethan *(poutice)* o fara gwyn wedi ei ferwi mewn dwfr arno drachefn, a thrwsier y briw bob dydd â *savine ointment*. Gwaeder y claf yn mhen diwrnod neu ddau ar ol iddo gael ei frathu, ac yn mhen yr wythnos drachefn, a rhodder un neu ddwy o *plummer's pills* iddo i'w cymeryd nos a boreu am bythefnos, neu hyd nes y delo poer-lifiant *(salivation)*. Er nad oes un feddyginiaeth yn adnabyddus ar ol i'r gynddaredd ddechreu, etto gellir rhwystro i'r gynddaredd ddyfod yn mlaen, wrth arfer y moddion a nodwyd.

Gan nad yw brathiad ci, neu unrhyw greadur cynddeiriog arall, yn effeithio yn brysur ar y cyfansoddiad, gèllid meddwl y gwna gollwng gwaed fwy o les yn mhen ychydig ddyddiau, na phe gwaedid y claf w rnod y brathwyd ef, ac hefyd fod gwaedu yn union-gyrchol a thuedd i beri i'r gwenwyn gael ei adlynu i'r cyfansoddiad yn llawer cynt.

D

## AM DDIRDYNIADAU AR BLANT
(*Convulsions*).

Y mae plant yn dueddol o gael eu blino â dau fath o lewygon dirdynol, y naill a elwir yn llewygon tumewnol, a'r llall yn ddirdyniadau cyffredinol: y llewygon tumewnol a flinant y plentyn yn ei gwsg, pryd y bydd y llygaid yn lled agored, ac yn fynych yn cau ac yn agor; ar brydiau, fe fydd y llygaid yn cael eu troi i fynu, nes na byddo ond gwyn y llygaid yn unig yn y golwg; cyffröad crynedig yn ngewynau y gwefusau yn dwyn rhyw beth tebyg i wên; yr anadl yn gaeth ac anwastad, gydag ymderfysgiad ac attaliad o guriad y galon ar amserau; cylch glaswyn o amgylch y genau a'r llygaid, a'r ystwr lleiaf yn peri i'r plentyn wrthneidio. Gellir gwellhau y llewygon hyn trwy gymeryd gofal rhag i'r plentyn fwyta neu sugno gormod, a rhoddi tê had anis neu dê peppermint i chwalu y gwynt o'r cylla a'r ymysgaroedd, os na fydd y plentyn yn gwellhau, gellir rhoddi llonaid llwy dê o'r cymysgedd canlynol iddo, ddwy waith neu dair yn y dydd:—

Magnesia calcined, un scruple
Tincture rhubarb, dau ddram
Tincture cardamos, un dram
Peppermint water, dwy owns

Cymysger hwy yn nghyd.

Am ddirdyniadau ereill, y rhai sydd yn fwy ffyrnig, y maent yn hanfodi oddiar radd fawr o wresögiad yn y cyfansoddiad gewynol, yn cael eu hachosi oddi-

wrth fagiad dannedd, llyngyr, neu annhreuliad y bwyd. Yr arwyddion wrth y rhai y gellir eu hadnabod ydyw y rhai canlynol,—cyffröad gwrwstaidd (*spasmodic*) trwy yr holl gorff, neu yn un ochr o'r corff, y breichiau a'r coesau yn cael eu tynu i fynu, a'u hysgwyd; bydd y corff weithiau yn cael ei ddirdynu yn ngwysg ei gefn, y llygaid weithiau yn sefydlog a llonydd, bryd arall yn cael eu prysur ysgwyd yn ol ac yn mlaen, yr ên isaf yn cael ei gwasgu ar i fynu, a'r wyneb ei wyrdroi y naill ochr, ac ar brydiau bydd cryn wich wrth anadlu.

TRINIAETH.

Rhodder y plentyn mewn dwfr clauar, wedi dodi dyrnaid o halen ynddo, a thra y byddo yn y dwfr hwn, golcher ei ben a'i wyneb mewn dwfr oer, a chymerer ef allan yn mhen dau fynyd neu dri, a sycher ef, a rhodder *glyster* iddo o *castor oil* gyda *water gruel*, a rhwbier asgwrn ei gefn â *spirit hart's-horn*, a *sweet oil* yn gymysg. Os bydd y wyneb yn wridog, a rhedweli y gwddf yn curo yn gryf, dylid dodi gelod wrth yr arleisiau; ond os bydd y plentyn yn wanllyd, a'i wyneb yn ymddangos yn welw, yn lle rhoddi gelod, dylid rhoddi rhyw feddyginiaeth adfywiol, megys y cymysgedd canlynol:—

Spirit salvolatile, un dram
Tincture castor, haner dram
Infusion of valerian, dwy owns
Cymysger hwynt oll.

Rhodder o haner llonaid llwy dê i lwyaid o hono

deirgwaith yn y dydd; dylid cymhwyso y mesur yn ol oedran y plentyn. Pan achlysurir y llewygon gan fagiad dannedd, gellir cymeryd cyllell lem i dori i lawr at y dant, neu y dannedd. Os bydd y corff yn rhwym, gellir rhoddi dognau bychain o *calomel* â *rhubarb*, yn ol oedran y plentyn; neu os bydd y plentyn yn wanaidd, llonaid llwy de o *castor oil* neu *magnesia* a etyb y dyben yn well.

---

## YSIGIADAU
(*Sprains*).

Y mae ysigdod yn ddamwain gyffredin, naill ai trwy lithro neu wrth ymdrechu gormod yn rhy sydyn i gyflawni unrhyw orchwyl pwysig, yr hyn sydd yn dygwydd fynychaf yn y ffer, pen y glin, a'r arddwrn. Y driniaeth oreu, pan gyfarfyddir â damwain fel hyn, ydyw golchi y rhan neu y rhanau a ysigwyd â dwfr cynhes am gryn amser, a rhoddi *poultice* o fara gwyn, a blawd had llin neu fran gwenith, a chadw yr aelod yn llonydd; ac os bydd enyniad drachefn a phoen mawr, dylid rhoddi haner dwsin o elod, a'u hail roddi bob dydd hyd nes yr esmwytho y boen; ond os na ellir cael gelod, dylid agor gwythïen mor agos ag y gellir i'r fan, a gollwng wyth neu ddeg owns o waed, yn ol oedran y claf a grym yr ennyniad. Os na ellir gollwng gwaed yn agos i'r rhan a anafwyd, fe ddylid gwaedu y fraich, os bydd yr ennyniad yn fawr ac yn effeithio ar y cyfansoddiad, a chymeryd meddyginiaeth ryddhaol, megys *Epsom salts*.

Os bydd y cymhal yn parhau yn wan ar ol i'r chwydd ostwng, gellir ei olchi bob dydd am ychydig o amser â dwfr oer, a rhoddi *soap plaster* am dano ar ol peidio ei olchi: ond os bydd y cymhal yn parhau yn ddolurus drachefn, fe fydd cymmrwd pothellog (*blistering plaster*) yn well na dim moddion ereill. Heblaw y moddion a nodwyd, y mae y pethau canlynol yn rhagorol o dda, yn enwedig mewn ysigiadau ysgafn, sef golchi yr ysigiadau â gwinegr, neu frandi a gwinegr, neu sugaethan o flawd ceirch, gwaddod gwin coch, *camphorated spirits of wine*, neu un o'r ddau gyngor canlynol:—

Spirits of wine, dwy owns
Tincture of opium, haner owns
Spirit of mindererus, pedair owns.

Cymysgwch, a golchwch y fan ag ef yn bur aml, neu gymerwch

Soap liniment
Spirit of mindererus, owns o bob un.

Cymysger hwynt, a golchwch y rhan neu y rhanau dolurus ag ef.

---

## TOR LLEN-GIG
(*Rupture*).

Y mae tòr llengig yn glwyf neu anaf ag y mae hen ac ieuangc, meibion a merched, yn agored iddo; bernir ei fod yn blino meibion yn amlach.

Y mae yn myned ar wahanol enwau, yn ol y manau y byddo y toriad, megys—

Bogail doriad, *navel rupture*
Bol doriad, *ventral rupture*
Achfen doriad, *inguinal rupture*
Cwd doriad, *scrotal rupture*
Morddwyd doriad, *femoral rupture*

Y pum math ddywededig sydd yn ddyfod yn fwyaf cyffredin o dan sylw meddygon, er fod y clwyf weithiau yn ymddangos mewn dulliau ereill.

*Achosion tor llen-gig.*—Fe ddygwydd yn fynych i'r ymysgaroedd ddisgyn i waered yn y parthau y bo y llen-gig wanaf, neu y manau hyny ag y mae yr agoriad ynddo i'r gwaed-lestr fyned trwyddo ar bob tu i'r morddwydydd.

Yr achosion mwyaf cyffredin i'r ymysgaroedd gael eu gyru o'u lle, yw marchogaeth, beichiau trymion, peswch dwys, codymau, esgor caled, lludded, ymdrech i godi rhywbeth rhy drwm, chwerthin gormod, neu alar anghyffredin, pan fyddo y dillad yn gwasgu y corph yn rhy dyn.

ARWYDDION.

Y mae y chwydd yn ymddangos yn gyntaf yn nghesail y forddwyd, a thrachefn yn disgyn i'r cwd, anesmwythder trwy bol, ac nid yn y man y bydd y chwydd, y mae y chwydd yn ychwanegu pan fyddo y claf yn pesychu, neu yn ol iddo fwyta, ac yn lleïhau pan fyddo ar ei orwedd, ac os gellir ei yru yn ol bydd yn myned gyda thwrf; y mae y claf yn aml yn cael ei flino gan y coluddwst (*colic*) gwrthwyneb yn y cylla a chyfog, y corph yn rhwym, &c.

TRINIAETH.

I'r dyben i ail ddymchwelyd yr ymysgaroedd dylai y claf orwedd ar ei gefn, a'i ben a'i ysgwyddau ar glustog, a chodi ei liniau at ei fol fel yn ddauddyblyg, neu gosoder traed y claf ar ysgwyddau dyn arall a'i gorph yn hongian i lawr, a chymered un afael yn y chwydd ag un law, a cheisied yn araf â bysedd y llaw arall ddodi yn ei ol i'w le yr hyn a dorodd allan, gan ofalu am fod i'r rhan a dorodd allan ddiweddaf gael ei ddymchwelyd i mewn yn gyntaf. Ond os methir a gyru yr ymysgaroedd i'w lle trwy y moddion a nodwyd, dylid dodi y claf mewn dwfr twymn (*warm bath*) am haner awr, a'i waedu yn ol ei nerth a'i oedran, ac ail ymdrechu i'w rhoddi yn ol tra fyddo yn y dwfr, neu yn union ar ol iddo ddyfod o'r dwfr. Ond os methir drachefn, gellir golchi y rhanau â dwfr oer, a rhoddi *clyster* o haner pint o drwyth cammomile, ac owns o *sweet oil* neu *castor oil* ynddi, a'i roddi bob dwy awr neu dair hyd nes y delo yr ymysgaroedd i weithredu. Os bydd i'r ymysgaroedd fyned i'w lle, dylid cael gwregys i'r toriad, i'w cadw yn eu lle addas, a'i wisgo yn barhaus am ddwy flynedd, ond os metha pob moddion i'w ddychwelyd, dylid cadw y fan yn oer, gan ei olchi â dwfr oer a gwinegr yn gymysgedig. Neu gellir cymeryd chwart o ddwfr ffynhon, a rhoddi owns o *salammoniac* yn bowdr, a golchi y fan ag ef yn fynych hyd nes y ceffir cymhorth llawfeddyg, yr hyn ni ddylid ei oedi, gan os bydd y moddion a enwyd yn aneffeithiol i fwrw y perfedd yn ei ol, bydd lle i ofni fod cwlwm neu

dagiad arno, yr hwn a achosa farw-lygriad y rhan hyny o hono yn fuan, ac o ganlyniad marwolaeth y claf. Ond os ceisir llawfeddyg cyn i'r rhan dagedig lygru, geill ef ei dychwelyd yn ol, trwy agor hyd at y fan y bydd y rhwystr, neu trwy arfer yr offeryn a elwir *air pump*. Mae cael gwregys da, fel y nodwyd o'r blaen, yn beth o bwys mawr. Un o'r goreuon yn y deyrnas ar y pen hwn yw y boneddwr hyglod, Mr. Owen Griffith, o'r Tryfan mawr, yn Arfon. Byddai yn wastraff ar bapyr ac amser i ychwanegu o berthynas iddo, gan fod ei enw eisoes mor hysbys yn y dywysogaeth, a'i glod mor uchel.

---

## COLUDDWST
### (*Colic*).

Y mae yr afiechyd hwn yn dechreu gyda phoen ffyrnig yn yr ymysgaroedd; yn gyffredin yn nghylch y bogail, yr hyn sydd yn esmwythâu dros ychydig, ac yn dechreu drachefn. Y bol yn tynhau ac yn chwyddo gan wynt, a'r boen yn ddirdynol a gwasgedig, fel pe byddai rhwymyn yn gwasgu yr ymysgaroedd yn dỳn. Y mae y corph yn rhwym; a'r boen yn esmwythâu wrth bwyso ar y bol, ac wrth gael ymadael â gwynt.

Gellir gwahaniaethu y goluddwst oddiwrth ennyniad, drwy fod y boen yn lleihau wrth wasgu y goluddwst, ac yn ychwanegu wrth wneuthur hyny pan fyddo ennyniad yn yr ymysgaroedd. Nid yw curiad y galon yn cyfnewid ond ychydig; ond pan fyddo

ennyniad yn cymeryd lle, fe fydd curiad y galon yn fuan a chaled, a syched mawr, yn nghyd ag arwyddion ereill o dwymyn.

TRINIAETH.

Rhodder haner owns neu owns o *castor oil*, a deg neu bymtheg dyferyn o *laudanum*, yn ol fel y byddo oedran y claf, a rhodder ef mewn dwfr twymn (*warm bath*), neu dwym-eneinnier ef â gwlaneni yn boethion o drwyth cammomile a hops, neu ddwfr poeth os na ellir eu cael. Yna rhodder *clyster* iddo o ddwy owns o *Epsom salts*, i'w dadlaith mewn peint o gawl teneu (*gruel*), ac owns o *sweet oil* yn gymysg; a dylid ail roddi y *glyster* bob tair awr neu bedair, hyd nes y delo yr ymysgaroedd i weithredu. Os bydd arwyddion o dwymyn yn dyfod yn mlaen, sef curiad y galon yn dyfod yn gyflymach, a'r bol yn fwy dolurus wrth ei wasgu, fe fydd gollwng gwaed ar y fraich yn addas er attal ennyniad yr ymysgaroedd. Os bydd gwrthwynebiad gan y claf i gymeryd *castor oil*, neu duedd i gyfogi, rhodder tê cammomile iddo, er mwyn glanhau y cylla. A thrachefn, gellir rhoddi dwy neu dair llonaid llwy fwrdd o'r cymysgedd canlynol iddo bob pedair awr :—

Powdered rhubarb, hanner dram
Magnesia, ugain gronyn
Tincture rhubarb, un owns
Tincture opium, ugain dyferyn

Os na lwydda y moddion a enwyd, dylid cael cyngor meddyg, gan fod amryw fath o goluddwst, ac yn

cyfodi o wahanol achosion, a gwahaniaeth dirfawr yn nghyfansoddiadau dynion, yn nghyd ag y byddai y cynghorion ereill a allem enwi, yn beryglus i'w harfer gan rai anghyfarwydd â meddyginiaeth!

D.S. Y mae y cyfarwyddiadau a roddwyd er esmwythâu y coluddwst, yn dra llesol pan y byddo yr wrwst yn y cylla (*cramp of the stomach*), gan ei fod yn cyfodi yn gyffredin oddiar achosion cyffelyb, ond fod y boen wrwstaidd yn y cylla, yn lle bod yn yr ymysgaroedd.

---

## LLEWYGON NEU LESMAIR
### (*Fainting or Syncope*).

#### ARWYDDION.

Y mae y claf yn teimlo ei hun yn wan, ei alluoedd meddyliol yn dyrysu, a'i olwg yn pallu; chwys oer yn dyfod drosto, a'i wyneb yn welw, a chur mawr yn nghylch y galon am beth amser cyn i'r llewygfa effeithio i'r graddau eithaf arno; ac yna y mae curiad y galon yn dyfod yn wan iawn, a'r anadliad yn gwanhau yn ddisymwth, ac yn aml i'r fath raddau ag y meddylid ei fod wedi diffodd yn hollol. Ei aelodau yn oeri, a lliw gwelw angeuol yn ei wyneb.

#### TRINIAETH.

Pan fyddo pang yn dyfod, o herwydd gollwng neu golli gormod o waed, dylid gosod y corph yn union-gyrchol mewn agwedd orweddol, mewn lle cyfleus iddo gael awyr glir i anadlu, gan daenellu

dwfr oer ar ei wyneb, a golchi ei arleisiau â gwinegr, a rhoddi llonaid llwy dê o *salvolatile* iddo mewn gwydraid o ddwfr oer, mor fuan ag y gallo ef ei lyngcu. Dylid gofalu rhoddi y claf mewn awyr bur i anadlu, a rhoddi halen arogli *(smelling salt)* wrth ei ffroenau. Dylai y claf a fyddo yn dueddol o gael llewygfeydd, gymeryd rhyw feddyginiaeth gryfhaol, megys *Peruvian bark*, yn enwedig os bydd y llewygfeydd yn cyfodi oddiar wendid; neu ós byddent yn cyfodi oddiar ryw achosion ereill, rhaid i'r driniaeth gyferbynu â'r achosion o'r rhai y byddant yn deillio.

---

## POEN MEWN CLUST
### (*Ear-ache*).

Y mae y boen yn dechreu yn ddisymwth, yn fwyaf cyffredin mewn un glust, ac yn terfynu yn sydyn heb un arwydd o dwymyn, oddieithr fod y boen yn cyfodi oddiar ennyniad yn y glust. Y mae y boen yn gyffredin yn cael ei achosi gan y ddannodd, cryd-cymmalau yn y pen neu y wyneb, weithiau gan bryfaid, neu ryw beth arall yn y glust yn peri ennyniad o fewn y glust i asgwrn y pen; a thrwy fod awel oer yn taro ar y claf, pan fyddo yn frwd neu wedi chwysu yn drwm.

#### TRINIAETH.

Pan y byddo y boen yn cael ei achosi gan rywbeth yn y glust, dylid ei gael allan; os pryf neu bryfed a fydd yr achos, gellir chwistrellu llaeth

clauar i'r glust, neu ynte ei llenwi â *sweet oil*, a rhoddi gwlan neu gotton i'w gadw rhag rhedeg allan. Y mae chwythu mwg *tobacco*, neu chwistrellu trwyth *tobacco* i'r glust, yn beth a ganmolir yn fawr i ladd pryfed. Os bydd y boen yn cyfodi oddiar anwyd; gellir dal y glust uwch ben angerdd dwfr poeth neu drwyth cammomile, a rhoddi ychydig o ddyferion *laudanum* a *sweet oil* ar gotton yn y glust, a'i chadw yn gynhes trwy ei gorchuddio â gwlanen. Os bydd y glust yn myned yn ddolurus, dylid rhoddi gelod i dynu gwaed mor agos i'r glust ag y gellir, a rhoddi cwmmrwd pothellog (*blister*) ar y fan, ar ol i'r gwaed beidio rhedeg; a dylid rhoddi rhyw feddyginiaeth garthiadol, megys *Epsom salts*, wedi ei daddaith mewn tê *senna*. Os bydd y boen yn cyfodi oddiar fod rhai o'r dannedd yn ddrwg, dylid cael yr un drwg i ffordd yn ddioed. Ond os bydd y boen yn arwydd o enynniad tumewn i asgwrn y pen, fe ddylid gwaedu yn lled drwm o'r arlais neu y fraich, a chymeryd cyffuriau cryf er agoryd y corph.

---

## Y DDANNODD
### (*Toothache*).

Os bydd twll yn y dant, rhodder *oil of cloves, oil of cajeput*, neu *oil of nutmegs* ynddo ar lint, neu *ether* a *laudanum*, neu gellir llenwi y twll â phelen (*pill*) o *camphor* ac *opium*, neu gellir rhoddi *nitric acid* â gwiallen yn y twll i farweiddio y gewyn. Ond y ffordd sicraf i gael esmwythder, a fydd tynu y dant

ymaith. Ond os na fydd twll yn y dant, fe fydd cnoi gwraidd *horse radish*, neu wraidd *pelitory* yn hynod o lesol, a rhoddi cymmrwd pothellog (*blister*) y tu ol i'r glust, ac iro yr ên a'r foch oddi allan yn lled aml â'r moddion canlynol:—

Spirits of camphor, dwy owns
Tincture of opium, haner owns
Oil of rosemary, un dram
Liquor of Ammonia, un dram

Cymysgwch hwynt yn nghyd.

Er rhagflaenu y ddannodd, fe fyddai yn fuddiol iawn i olchi y genau bob bore â dwfr oer; ac os bydd tuedd i lygru yn y dannedd, gellir eu glanhau â phowdr golosg (*powdered charcoal*); y mae yr *aneca nut charcoal* yn cael ei gymeradwyo yn fwy na'r *charcoal* cyffredin. Os bydd y dannedd a thuedd ynddynt i fyned yn rhydd, rhodder owns o *tincture of rhatany* am ben pedair owns o *rose water*, a golcher cig y dannedd âg ef hwyr a boreu.

---

## ENNYNIAD YN YR ESGYRN.

Y mae ennyniad (*inflammation*) yn yr esgyrn yn fwy tueddol i gymeryd lle mewn plant a phobl ieuaingc nag mewn hen bobl. Y mae yn cael ei achosi trwy amrywiol o bethau ag sydd o duedd i ddwyn yn mlaen ennyniad mewn unrhyw ran o'r corph, ond yn fwyaf neillduol trwy anafu yr aelod, codymau, ac oerfel; megys ymdrochi mewn dwfr oer pan y byddo

y corph yn frwd, neu orwedd ar y ddaear: y mae y rhai sydd o duedd fanwnog (*scrofulous*) yn fwy agored iddo na neb.

Y mae y clwyf hwn yn myned o dan wahanol enwau gan ddynion; rhai a'i galwant yn *adwyth;* ac y maent yn barnu yn gyffredin na wyr meddygon ddim yn y byd am dano, ac o ganlyniad yn ymddiried y clwyf i ofal twyllwyr, yn lle ymofyn am foddion addas i'w wellhau, ac attal yr ennyniad mewn pryd. Y mae yr afiechyd hwn yn dechreu fynychaf yn ddisymwth, trwy boen dwys a dwfn yn yr aelod, ac yn neillduol am effeithio ar iechyd y dyoddefydd, fel y bydd y corph yn curio yn brysur iawn. Fe chwydda yr aelod ddolurus mewn amser; bydd y chwydd yn lled galed, a'r croen yn goch, dolurus, a gwresog iawn. Fel y byddo yr ennyniad yn myned yn mlaen fe fydd y casgliad yn myned yn mlaen, ond pur anaml y bydd i'r casgliad dori cyn i'r asgwrn gael ei ddryllio gan y gofid.

### TRINIAETH.

Bathier yr aelod â'r drwyth ganlynol, sef, dail cegid, topiau ysgaw, dail rhocys, a chammomile, wedi eu berwi mewn dwfr, ac mor gynted ag y gellir eu cael rhodder cymaint ag a ellir o elod, yn ol oedran y claf, wrth yr aelod gofidus, a dylid eu hail roddi yn fuan os bydd gwres gormodol, a'r croen yn parhau yn wridog; a rhoddwch *blister* drachefn ar y rhan ofidus; ac wedi i'r gwres a'r boen ddofi, gellir iro yr aelod â'r cyffuriau canlynol:—

Camphorated oil, dwy owns
Mercurial ointment, un owns
Wedi eu cymysgu yn nghyd.

Os na ellir rhwystro iddo gasglu â'r moddion a nodwyd, ac os bydd y chwydd yn myned yn fwy yn lle myned yn llai, rhodder sugaethan o flawd had llin (*linseed meal poultice*) am yr aelod, nos a boreu; a dylid ei agor mor fuan ag y gellir, a hyny hyd at yr asgwrn; ac os bydd rhan o'r asgwrn wedi tori yn fflawiau, dylid eu cymeryd ymaith, a chwistrellu y briw â dwfr clauar, gan roddi *tincture of myrrh* at yr asgwrn, er mwyn gwneuthur i'r rhan farwaidd ymadael oddiwrth y rhan arall. Pan y byddo yr ennyniad, neu yr adwyth, yn dechreu, fe ddylid rhoddi meddyginiaeth ryddhaol i'r claf, a dognau bychain o *laudanum*, yn ol fel y byddo oedran y claf bob nos, i beri iddo gysgu. Ar ol ei agor, yn enwedig os bydd yr asgwrn yn myned yn ddrwg, dylid cynnal nerth y claf trwy roddi *Peruvian bark* mewn llaeth neu win iddo.

---

## GOLLYNGIAD GWAED.

Yma gwnawn rai nodiadau yn gyntaf am y gwaed; ac wedi hyny, rhai hyfforddiadau angenrheidiol o barth gollwng gwaed. Mae y gwaed sy'n y galon, y rhedwelïau, a'r gwythïenau yn cylch-redeg yn barhaus, ac yn myned o dan ryw gyfnewidiad neillduol a gwastadol yn ei holl ysgogiadau mewn dyn ac anifail iach. Y mae yn derbyn hylifau ychwanegol wedi ei barotoi gan y rhanau sydd yn treulio yr

ymborth, yn gystal a drwy adlyngciad croenawl; ac hefyd yn derbyn cyfnewidiad neillduol yn yr ysgyfaint gan weithrediadau yr awyr arno. Y mae yn cylch-redeg trwy yr holl gorph, gan gyfranu rhyw sylwedd penodol i holl beiriannau y corph, ac ar yr un pryd yn cael ei yspeilio o ranau ereill gan y gwahanol ddidoliadau, ac nid yw yn beth rhyfedd y byddai y gwaed yn cael ei ystyried yn fywyd y corph, gan os rhwystrir ei fynediad i unrhyw ran o'r corph, y mae y rhan hono yn marw; ac hefyd, os gollyngir gormod o hono ar ddyn neu anifail, y mae y naill fel y llall yn marw. Y mae y gwaed nid yn unig yn angenrheidiol er cynnal bywyd, ond hefyd, er cynnydd pob rhan o'r corph; a phan y byddo unrhyw ran wedi ei anafu, y gwaed a roddir mewn gweithrediad er adgyweirio yr anaf.

Heblaw y cyfnewidiad ag sydd yn cymeryd lle yn barhaus yn y gwaed, trwy ychwanegiad adnewyddol ato o'r caul, a'r cyfnewidiad sy'n cymeryd lle yn yr ysgyfaint, a'r didoliadau sydd yn myned o hono, y mae yn ddiammheuol fod cyfnewidiad yn cymeryd lle ynddo mewn afiechyd; er prawf o hyn, gellir nodi y gwahaniaeth lliw sydd yn cymeryd lle yn y rhan feiddiog o'r gwaed yn y clwyf melyn. Nid yw awdwyr yn cytuno pa faint o bwysau o waed sydd mewn dyn: barna Haller fod 50 pwys o wlybwr yn cylch-redeg mewn dyn 160 o bwysau, o ba un y barnai fod 28 pwys yn waed. Y farn gyffredin yw, fod o 10 pwys i 15 mewn dynion cyffredin: yr ydys yn barnu fod mwy o waed mewn dynion ieuaingc yn ol eu maintioli nag mewn dynion mewn oed; ac

hefyd fod llai o waed mewn pobl dewion nag mewn rhai teneuon.

### O BARTH GOLLYNGIAD GWAED.

Y mae curiad y galon (*pulse*) yn gofyn sylw neillduol cyn gollwng gwaed; er addysg rhoddaf y rhifres a ganlyn o guriad y galon bob mynyd, mewn plant a phobl iach:—

| | | |
|---|---|---|
| Plant ar ddydd eu genedigaeth | o 130 | i 140 |
| blwydd oed............. | 120 | 130 |
| dwy flwydd..... ...... | 102 | 110 |
| tair blwydd............ | 90 | 100 |
| saith mlwydd.......... | 85 | 90 |
| pedair-ar-ddeg oed...... | 80 | 85 |
| Cyflawn oed................. | 70 | 75 |
| Triugain oed ................ | 60 | 65 |

Ond nis gellir ymddiried bob amser ar y *pulse*, neu guriad y galon, fel rheol berffaith i ollwng gwaed; ac nid yw yn hollol angenrheidiol er mwyn penderfynu i ollwng gwaed, fod y *pulse* yn fuan, yn gryf, neu yn galed, ond gellir agor gwythïen a gollwng gwaed gyda'r priodoldeb mwyaf, os bydd yr afiechyd o natur ennynawl (*inflammatory*) gan fod ennyniad naill ai o'r ysgyfaint, ymenydd, y cylla, neu yr ymysgaroedd, yn fynych yn cydfyned â churiad llesg ac eiddil y galon, yr hwn ar ol gwaedu a ddaw yn llawn a chadarn. Er mwyn dyfod i'r penderfyniad pa un a ddylid gollwng gwaed ai peidio, heblaw barnu pa un ai cryf ai gwan, araf neu fuan, a fydd curiad y galon, y mae un o ysgrifenwyr goreu yr

oes hon, ar ollyngiad gwaed, wedi gosod ger ein bron reol nas gsllwn yn hawdd gyfeiliorni; sef, curiad anwasgadwy y rhedweli a ellir ei adnabod trwy bwyso ag un bys ar redweli yr arddwrn, a rhoddi y bys arall ar yr un rhedweli rhwng y bys a osodwyd ar y llaw, y bydd y curiad i'w deimlo fel edef fain, hyny ydyw, heb bwyso yn anghyffredin â'r bys a osodir gyntaf, y bydd y curiad i'w deimlo o dan yr ail fys mewn pob math o afiechyd ennynol, ac o ganlyniad yn rheol anffaeledig ac yn brawf eglur y bydd gollwng gwaed o fudd mawr.

Heblaw cadw at y rheol hon, bydd yn angenrheidiol cymeryd o dan sylw oedran y claf; a pha faint o amser a fyddo er pan y mae yn glaf; yn nghyd a gwres y corph. Er fod bron bob afiechyd ag sydd yn tarddu oddiar ennyniad yn unrhyw ran o'r corph, yn gofyn gollwng gwaed; ïe, gallwn ddywedyd y bydd gollyngiad cymhwys o waed yn un o'r moddion goreu a allwn weinyddu; er hyny, bydd gollwng gwaed yn rhy fuan yn berygl o fod yn niweidiol; megys yn ebrwydd ar ol briwo, neu pan y byddo y corph yn oer, neu mewn cryndod, pryd y byddo twymyn yn dechreu: mewn achosion o'r fath, bydd yn well oedi am ychydig oriau hyd oni chynheso y corph, a churiad y galon gael ei adferu.

A thrachefn, dylid gwaedu yn ol nerth y claf, yr hyn a ellir ei farnu wrth deimlo rhedweli ei arddyrnau tra byddo y gwaed yn rhedeg; os bydd curiad y galon yn cryfhau, fe ddylid gwaedu yn lled helaeth; ond os bydd y curiad yn gwanhau, fe ddylid gwaedu yn brinach.

Y DREFN I OLLWNG GWAED.

Gosoder y person mewn goleu da, a rhwymer y fraich oddeutu lled tri bys oddiar y penelin yn ddigon tỳn i gydwasgu y gwythïenau i attal dychweliad y gwaed, ond nid mor dỳn ag i attal ei fynediad trwy redweli y fraich. Gwythïen o faint cymhedrol o dan ba un nis teimlir un curiad, neu ewyn, a ddylai gael ei dewis; a dylai y fraich fod yn estynedig, a'r llaw yn gauedig neu yn ymaflyd mewn ffon. Os bydd y wythïen yn ymddangos yn rhydd o dan y croen, dylai y gwaedwr osod ei fawd arni, yn nghylch modfedd a haner, neu ddwy fodfedd, islaw y fan y bydd yn bwriadu ei hagor; yna dalied y fflaim yn sefydlog rhwng y bys blaenaf a bawd y llaw ddehau, gan ei gosod yn ddiysgog yn y wythïen, a'i thynu allan trwy godi ei blaen i ehangu y pigiad; pan y byddis yn barnu fod digon o waed wedi rhedeg, symuder y rhwymyn; a dylid cymeryd gofal i ddwyn ochrau yr agoriad yn nghyd âg ychydig o leiniau o *diachylon* neu *adhesive plaster;* a rhodder dernyn o liain drosto; yna rhwymer y fraich i fynu âg ysnoden neu gadach, gan ei droi o amgylch y fraich ar ddull ffigur wyth: os bydd y claf yn dueddol i lewygu wrth, neu ar ol gollwng gwaed, dylid ei osod naill ai ar wely neu orwedd-faingc. Mewn rhai clefydau, megys tòr lengig tagedig, ennyniad yr ymenydd a'r ysgyfaint, twymyn ennynawl, &c. fe fyddai yn fuddiol i'r claf i fyned i lewyg. Heblaw gwaedu o'r fraich, y llaw, y troed, yr arlais, y tafod, &c., gellir tỳnu llawer o waed mewn ffyrdd

ereill, megys gosod gelod a chypio (*cupping*), y rhai sydd yn foddion cyfleus iawn, yn enwedig gelod, i dynu gwaed o bob rhan o'r corph, ac a ddylai gael y flaenoriaeth pan na byddo yr afiechyd yn effeithio ar yr holl gorph, neu pan fyddo y claf yn wanllyd, neu yn teimlo poen mewn un aelod, neu ran o'r corph, megys ysigdod, ennyniad y llygaid, y glust, &c.

Y mae y dull o osod gelod mor hysbys i bawb, fel na raid i ni ddesgrifio y gorchwyl, ond dywedyd y bydd y gosodydd yn fwy llwyddiannus i beri iddynt gydio, wrth eu sychu â lliain main, neu adael iddynt ymlusgo ar hyd lliain sych am ychydig amser cyn eu gosod ; a rhoddi hufen, siwgr, neu waed ar y fan y byddis yn meddwl iddynt gydio ; os na chydiant ar hyny, gellir oeri y fan â lliain gwlyb o ddwfr oer. Gellir rhwystro iddynt ddiangc trwy eu gorchuddio â gwin wydr. Pan y gollyngont, gellir gwneud iddynt fwrw y gwaed trwy osod eu penau mewn halen neu winegr, a chymeryd gafael yn eu cynffonau a'u tynu rhwng y bysedd. Os na fyddant wedi sugno digon o waed, gellir rhoddi sugaethan o fara gwyn (*bread poultice*) wrth y fan, neu gypio y lle y bu y gelod, trwy roddi ychydig o garth, neu ddarn o liain wedi ei wlychu mewn *spirits of wine* a rhoddi tân ynddo, a'i osod yn ngwaelod gwin-wydr, a gosod y gwydr yn union ar y fan ; a gadael i'r gwydr aros ar y fan am ychydig amser, ac yna ei dynu a'i ail osod fel o'r blaen am amryw weithiau, hyd nes ceir digon o waed, neu hyd nes y byddo i'r tyllau beidio gwaedu.

# HYFFORDDIADAU

I DDEFNYDDIO AMRYW O'R

# CYFFURIAU MEDDYGOL

MWYAF CYFFREDINOL

## A ARFERIR YN DEULUAIDD.

---

### ETHER.

O ddeg dyferyn ar hugain i lonaid llwy dê o ether mewn gwydraid o ddwfr oer, a rydd esmwythâd union-gyrchol yn y gwynt-chwydd (*flatulency*), yr wrẅst yn y cylla (*cramp in the stomach*). Y mae yn rhoddi esmwythder mewn dolur pen, trwy ei gymhwyso yn allanol ar y fan ddolurus; ac yn dofi y ddannodd trwy ei osod ar y dant clwyfus ar lint. Y mae yn fuddiol i ddofi poen yn y glust trwy ddyferu ychydig ddyferion o hono iddi. Y mae hefyd yn cael ei arferyd mewn llosg, i ddofi y llosgfeydd, trwy ei gymhwyso yn allanol, a gadael y rhan yn agored i'r awyr; fe'i rhoddir hefyd i ddofi yr eigian, ac i attal cyfog yn y *cholera morbus*.

## SWEET SPIRITS OF NITRE

A lonydda dwymyn, a dẏr syched y claf, ac a ychwanega y dwfr. Gellir rhoddi o ugain dyferyn i lonaid llwy dê o hono dair neu bedair gwaith yn y dydd mewn dwfr haidd, neu dê dail rhocys, mewn attaliad neu ddiffyg gwneuthur dwfr. Llonaid llwy dê o *spirits of nitre* a dwy neu dair llonaid llwy dê o *spirits of mindererus*, ac owns o *camphor julep*, i'w cymeryd yn ddracht wrth fyned i'r gwely a fydd yn feddyginiaeth ragorol o dda ar ol cael oerfel neu anwyd, byddant yn foddion i'w chwysu allan. Gellir cymeryd y gymysgedd a nodwyd y bore neu y nos dranoeth ar ol cael gwely llaith, ac yfed rhyw ddiod gynhes ar ei ol.

## SPIRITS OF SALVOLATILE.

Y mae dogn o 20 i 30 dyferyn, mewn gwydraid o ddwfr, yn dda iawn i gryfhau y gewynau, a chylchrediad y gwaed; a chan hyny yn feddyginiaeth ragorol o lesol mewn llewygfeydd a dychlamiad y galon, a fyddo yn cyfodi oddiar wendid.

## MAGNESIA

A gymerir yn y dogn o bymtheg gronyn i haner dram, mewn dwfr neu laeth. Pan y byddo surni yn y cylla, yr hwn a elwir yn gyffredin *y dwfr poeth*, fe weithreda fel carthiedydd; ond os na bydd surni, ni effeithia ond ychydig ar yr ymysgaroedd; ond os cymerir llonaid llwy fwrdd o sudd lemon ar ol y

*magnesia*, fe wna agor y corph yn bur esmwyth. Y mae *magnesia* yn hynod o dda i symud surni o gylla plant, yn enwedig os byddant yn rhwym. *Henry's calcined magnesia* yw y goreu.

## EPSOM SALTS.

Y mae yr halen hwn yn garthiedydd (*purge*), ac yn gynorthwy rhagorol i wneuthur dwfr. Y mae yn gweithredu mewn byr amser, ac heb gnoi; er fod ei flas yn wrthwynebol, fe a erys yn y cylla pan y bo llawer o bethau ereill yn cael eu cyfogi, yn enwedig pan y cymerir mewn dognau bychain, ac wedi ei ddadlaith mewn llawer o ddwfr. Fe'i cymerir fel carthiad pan y byddo y corph yn rhwym yn y coludd-wst ag sydd yn tarddu oddiar effeithiau gwenwynllyd plwm, ennyniad yr ymysgaroedd, ac mewn amrywiol ddoluriau o natur ennynaidd: fe'i rhoddir mewn *glysters*, o owns i ddwy, wedi ei doddi mewn peint o gawl, er agoryd y corph mewn amryw fath o afiechyd. Nid yw yn feddyginaeth gyfaddas iawn pan fyddo y claf yn hynod o wan. Pan y cymerir ef fel carth-iedydd, gellir ei gymeryd yn ddogn o haner dram i owns, wedi ei doddi mewn dwfr, naill ai ar unwaith neu ei ranu yn amrywiol ddognau, a'i gymeryd yn lled aml hyd nes y gweithredo.

## CASTOR OIL

Sydd garthiedydd tyner, ac yn cael ei gymeryd yn y coluddwst, yr wrwst, clwyf y marchogion (*piles*), y graian a'r gareg, yn nghyd â chlefyd y gwaed. Y mae yn feddyginiaeth ragorol i fabanod; gellir ei

roddi iddynt ar ddydd eu genedigaeth, gan ei fod mor ddiberygl. Gellir hefyd ei roddi i wragedd ar ol geni plant. Gellir cymeryd o haner owns i owns o hono, yn nofio ar wyneb dwfr, a gellir rhoddi ychydig o ryw wirod ynddo i guddio ei flas. Os bydd gan y claf wrthwynebiad i'w gymeryd, neu os bydd yn cyfodi cyfog arno, gellir ei roddi mewn *glyster* yn gymysgedig â pheint o gawl. Fe fydd llonaid llwy dê yn ddigon o ddogn i blentyn.

## TINCTURE RHUBARB

Sydd feddyginiaeth garthiadol dyner a hyfryd yn y colic gwynt, gwendid yn y cylla, dolur rhydd, neu unrhyw ddolur yn yr ymysgaroedd. Gellir cymeryd dogn o haner owns i owns. Y mae yn feddyginaeth ddiogel i blant, yn y mesur o lonaid llwy dê; ac os bydd surni yn y cylla, gellir cymysgu llonaid llwy dê o *magnesia*, ac owns o *peppermint water*, a chwarter owns o *tincture of rhubarb*, gan roddi llonaid llwy dê i'r plentyn nos a boreu i symud y surni, a chadw y corph yn dymherus. Gan nas gellir ymddiried iddo mewn pob afiechyd i weithredu fel carthiedydd, am hyny dylid ychwanegu at ei nerth trwy gymysgu scruple neu haner dram o *powder of rhubarb*, ac owns o ddwfr, a haner owns o'r *tincture*, a'i roddi yn un dogn i bobl mewn oed.

## TINCTURE SENNA A DAFFYS'S ELIXIR

Sydd yn feddyginiaeth garthiadol hyfryd a thwymn yn y dogn o haner owns i owns; ac a ellir ei gymeryd i'r un dybenion a *thincture of rhubarb* ond yn y dolur

dolur rhydd. Y mae yn fwy sicr o weithredu fel carthiedydd na *thincture of rhubarb.*

## SPIRIT OF MINDERERUS

Sydd yn chwys-beiriol, yn y dogn o haner owns bob pedair awr. Mewn anwyd a thwymyn fe a ddofa y llychedan, ac a ettyl syched. Mewn cryd cymmalau poeth (*acute rheumatism*) ugain dyferyn o *antimonial wine*, deg dyferyn o *laudanum*, chwarter owns o *spirits of mindererus*, a haner owns o *camphor julap*, yn ddracht wrth fyned i'r gwely, a rydd esmwythder am lawer o oriau; os bydd gan y claf wrthwynebiad i gymeryd *laudanum*, gellir rhoddi llonaid llwy dê o *spirits of nitre* yn ei le.

## VINEGAR.

Y mae *vinegar* (neu winegr) da, pan y cymerir i'r cylla, yn cryfhau y corph, yn oeri y gwres, ac yn lleihau syched; yn cynhyrfu chwys, ac yn ychwanegu lleisw. Mewn clefydau ennynol gellir ychwanegu ychydig o hono at ddiod y claf. Y mae yn feddyginiaeth dda yn y *scurvy* ac amrywiol ddoluriau llygredig ereill; ac yn un o'r moddion goreu i attal gwenwyn llysieuog, ar ol cael y gwenwyn i ffordd trwy gyfogydd, yn y dogn o lonaid llwy fwrdd yn bur aml; a gellir rhoddi dwy lonaid llwy fwrdd o hono mewn *glyster* pan fyddo y corph yn rhwym; fe'i defnyddir yn allanol i olchi ysigtod, cleisiau, a llosgiad. Wedi ei wanhau â dwfr y mae yn un o'r

pethau goreu i olchi'r lygaid, pan fyddo calch wedi myned iddynt.

## PAREGORIC ELIXIR

Yn y dogn o lonaid llwy dê, dair gwaith yn y dydd, mewn cwpanaid o dê dail yr hocys, neu dê had llin, a ddofa y teimlad gogleisiol yn nghorn y gwynt, yr hyn sydd yn cynhyrfu peswch mynych, ac yn dra llesol mewn hen ddiffyg anadl, a hen beswch; ond dylid bod yn ochelgar rhag ei roddi mewn peswch newydd, yn enwedig os bydd ennyniad yn yr ysgyfaint neu y ddwyfron. Fe'i rhoddir i blant i'w hesmwythâu mewn llawer math o afiechyd; ac nid oes genyf ammheuaeth nad yw yn esmwythâu llawer i'w beddau yn anamserol, gan fod mamau mor dueddol i roddi dognau mor helaeth o hono iddynt. Y mae hanner owns o *paregoric* yn cynnwys un gronyn o *opium.*

## VOLATILE TINCTURE OF GUIACUM

Sydd feddyginiaeth gynhyrfiol a chwys-beiriol; a gellir ei gymeryd yn y dogn o lonaid llwy dê ar ddwfr, mewm hen gryd cymmalau *(chronic rheumatism)*, y gymalwst yn y cylla, yn y parlys, ac anystwythder yn yr aelodau.

## SALTS OF WORMWOOD

A arferir i wneud cymysg helïaidd â sudd lemon. Pan y cymerir ef wrtho ei hunan, gellir ei gymeryd

mewn dognau o chwech i ddeg gronyn, wedi ei ddoddi mewn dwfr mintys, er gwella surni yn y cylla, ac er lleihau y lleisw. Y mae yn feddyginaeth rhagorol o dda i blant, pan y byddo llewygon dirdynol, yn cyfodi oddiar surni yn y cylla; ugain gronyn o hono wedi ei doddi mewn dwy owns o *peppermint-water*, a rhoddi llonaid llwy dê o hono i blentyn blwydd oed, dair gwaith yn y dydd, mewn dwfr neu lefrith. Y mae hefyd yn wrthwynebydd nerthol i wenwyn mwnol, megys *arsenic*, &c.; hefyd, gellir toddi haner owns o hono mewn dwy owns o ddwfr, i olchi brathiad neidr neu ryw greadur gwenwynig arall.

## CITRIC ACID.

Y mae y ddarpariaeth hon yn dda iawn i wellhau y *scurvy*, pan na ellir cael sudd lemon; hwnw yw y goreu os gellir ei gael. Dram o *citric acid*, neu dair llonaid llwy fwrdd o sudd lemon, a dram o *salts of wormwood*, wedi ei doddi mewn chwart o ddwfr ac ychydig o siwgr, a wna gymysg helïaidd, o'r hwn y gellir cymeryd llonaid gwinwydr bob tair awr mewn twymyn ennynaidd, fel diod gyffredin, pan fyddo y croen yn gras, y gwres yn gryf, a'r syched yn fawr. Y cymysg hwn a weithia fel moddion chwys-beiriol esmwyth a thyner; oera y corph, dofa y syched, ac ychwanega y lleisw, ac a weithreda yn raddol ar yr ymysgaroedd. Y cymysg helïaidd, os cymerir pan y byddo yn berwi, yr hyn a wneir trwy doddi ugain gronyn o *citric acid*, neu gymysgu

llonaid llwy fwrdd o sudd lemon, mewn dwy owns o ddwfr, a thoddi ugain gronyn o *salts of wormwood* mewn dwy owns arall o ddwfr, a'u cymysgu a'u hyfed y foment eu cymysgir; neu gellir yfed un o honynt yn gyntaf ac yfed y llall yn ddioed ar ei ol, i gael i'r berwad (*effervescence*) gymeryd lle yn y cylla. Gellir cymeryd y dracht bob pedair awr mewn twymynau ennynllyd a braenol.

## IPECACUHANA.

Yn y dogn o ugain gronyn i hanner dram, a weithreda fel cyfogydd esmwyth a sicr. Y mae, gan hyny, yn cael ei arferyd yn mron yn mhob afiechyd ag y mae llawn gyfogiad yn ofynol. Gellir ei gymeryd wedi ei gymysgu â dwfr clauar. Pan y bo achos rhoddi cyfogydd i blant, gellir rhoddi *wine of ipecacuanha* yn ei le, yn y dogn o lonaid llwy dê i blentyn o flwydd i ddwy flwydd oed. Fe'i rhoddir fel cyfogydd ar ddechreu clefydau hir-barhaus (*continual fevers*), o flaen y cwrs oer o'r cryd, yn y dolur gwddf, a chaethiwed yn nghorn y gwynt, a phan y byddo rhyw wenwyn wedi cael ei gymeryd; ond dylid ychwanegu ychydig o ronynau o *tartar emetic*, neu *sulphate of zinc*, i gyflymu ei weithrediad pan fyddo y claf wedi cymeryd gwenwyn. Fe'i rhoddir hefyd fel meddyginiaeth chwys-beiriol, yn y dogn o un i ddau ronyn wrth fyned i'r gwely, ar ol cael anwyd, ac yn y cryd cymmalau a'r dyfrglwyf, yn nghyd ag amrywiol ddoluriau ereill yn y rhai y bydd yn ofynol i chwysu y claf. Fe wna y *com-*

*pound powder of ipecacuanha*, yn y dogn o bump i ddeg gronyn, ateb y dyben yn well fel chwys-beirydd yn y cryd cymmalau. *Powder of ipecacuanha*, yn y dogn o haner gronyn i un gronyn, ddwy waith neu dair yn y dydd, a ganmolir yn fawr yn yr anwyd, ennyniad yr ysgyfaint, a'r gradd cyntaf, neu ddechreuad y darfodedigaeth ysgyfeinniawl. Y mae yn dda fel cynhyrfydd i beswch-boeriad. Fe'i rhoddir hefyd yn y dogn o dri i bum gronyn, nos a boreu, i attal poeri gwaed; ac er attal gormod o waed yn y misglwyf, ac yn yr anadlwst a diffyg anadl. Dylid bod yn ochelgar rhag ei roddi fel cyfogydd, pan fyddo dolur yn y pen yn cyfodi oddiar ormodedd o waed, neu ennynfa yn yr ymenydd; na phan fyddo y claf yn cael ei flino gan y tòr llengig.

## CALOMEL.

Mewn meddyginiaeth deuluaidd fe'i harferir yn benaf rhag y llyngyr, yn y dogn o un i ddau ronyn i blant; a thri neu bedwar o *rhubarb* i blant o flwydd i ddwy flwydd oed, a'u rhoddi unwaith neu ddwy yn yr wythnos. Y mae hefyd yn feddyginaeth ragorol o effeithiol i attal a gwellhau y dolur a elwir *croup* ar blant. Mewn doluriau ar blant, megys llechau a dirdyniadau, y rhai sydd yn cyfodi oddiar ormodedd o lys yn yr ymysgaroedd, *calomel* ac ychydig o *magnesia*, i'w rhoddi mewn dogn cyfatebol i oedran y plentyn, a fydd o les mawr. Gellir rhoddi *calomel* yn y dogn o bedwar i bump gronyn i ddynion mewn oed fel carthiedydd, gan nad ydyw yn sicr o effeithio

fel carthiedydd bob amser, gan hyny dylid rhoddi pymtheg neu ugain gronyn o *rhubarb* neu *jalap* i'w gynhorthwyo, yn attaliad a hen ennyniad yr ymysgaroedd, yn enwedig yr afu, dylid cymeryd *calomel* yn y dogn o un gronyn nos a boreu am wythnos neu bythefnos, hyd nes y byddo poerlifiant yn dechreu. Y mae *calomel* yn dra llesol mewn llawer math o ennyniadau mewn gwahanol ranau o'r corph. Y mae yn feddyginiaeth rhy nerthol i arfer llawer o hono. Y mae llawer o ddynion wedi dystrywio eu cyfansoddiad am byth trwy gymeryd gormodedd o hono.

## LAUDANUM

Sydd yn meddu effaith ragorol i leihau poen, ac i beri cwsg. Y mae dogn o ddeg i ugain dyferyn yn ddigon. Y mae yn cael ei arfer yn fynych i esmwythâu poen mewn gwahanol ranau o'r corph yn hytrach na'u meddyginiaethu: ond y mae yn feddyginiaeth ragorol mewn anhwylderau gwrwstaidd (*spasmodic affections*), megys y coluddwst, yr wrwst yn y cylla, yr anadlwst, pas, *cholera morbus*, peswch gwrwstaidd (*spasmodic cough*), a chlefyd y gwaed. Y mae yn feddyginiaeth dda iawn i blant yn y dolur rhydd, a'r dwymyn sydd yn fynych yn cyd-fyned a magiad dannedd, yn y dogn o un dyferyn i blant o flwydd i ddwyflwydd oed, a'i gymeryd nos a boreu; ond fel meddyginiaeth gyffredin mewn pob afiechyd, nid oes dim yn fwy niweidiol.

## PERUVIAN BARK

A arferir fel meddyginiaeth gryfhaol ar ol twymyn, pan fyddo y clefyd yn oeri, a thafod y claf yn dechreu glanhau. Dylid cymeryd dogn o ugain gronyn i haner dram, mewn gwin neu laeth, ac fel meddyginiaeth gynhyrfol at y dolur gwddf braenol. Y mae hefyd yn feddyginiaeth werthfawr yn y cryd, yn y dogn o ddram i ddwy ddram bob tair awr neu bedair. Gellir dechreu ei gymeryd ar ol i'r cwrs poeth fyned heibio, a pharhau i'w gymeryd hyd nes y dechreuo y cwrs oer; ond dylid cymeryd gofal i lanhau y cylla a'r ymysgaroedd cyn dechreu ei arfer rhag y cryd. Y mae y barc coch wedi ei ferwi mewn dwfr, yn cael ei arfer i lanhau y genau mewn dolur gwddf braenol, ac fel golchdrwyth i olchi briwiau llygredig.

Y mae y *Peruvian bark* yn feddyginiaeth werthfawr fel cryfhawr y corph pan y byddo gwendid yn unig yn aros ar ol amrywiol fath o afiechyd, a phan na byddo un attaliad yn y rhanau mewnol (*obstruction of the internal viscera*). Fe'i canmolir, wedi ei gymysgu yn y dull canlynol yn fawr mewn unrhyw afiechyd gewynol (*nervous affections*):—

Tincture bark, dwy owns
Volatile tincture of valerian, haner owns
Camphor mixture, chwe owns.

Cymysger hwynt, a chymerer llonaid llwy fwrdd dair gwaith yn y dydd.

## GOULARD'S EXTRACT OF LEAD

A arferir yn allanol yn unig. Yn y mesur o haner

dram, a'r un faint o *spirits of wine*, gwedi ei gymysgu a hanner peint o ddwfr, gwna olchwyth ragorol o dda mewn llosgiadau, ysigiadau, ac ennyniadau mewn amrywiol ranau o'r corph. Yr *extract* yn y mesur o ddeg dyferyn mewn hanner peint o ddwfr a deg dyferyn ar hugain o *laudanum* a wna olchdrwyth dda mewn ennyniad o'r llygaid. Effeithiau da golchdrwythiadau sydd yn ymddibynu mewn mesur mawr ar eu bod yn cael ei cymhwyso yn oer, ac fel y mae plwm yn sicr yn lleihau gweithrediad y rhedweli. Y mae ychydig o hono yn dra llesol pan ag y byddo gwres neu ennyniad; ond pan y byddo tueddiad i lygru neu farw-lygriad mewn rhyw ran o'r corph, fe fydd yn gymhwysiad peryglus a niweidiol iawn.

## POWDER RHUBARB.

Y mae *rhubarb* yn feddyginiaeth garthiadol esmwyth ac effeithiol, ac fe ellir ei roddi gyda diogelwch i wragedd beichiogion a phlant. Heblaw ei gyneddf garthiadol, y mae yn cryfhau y cylla a'r ymysgaroedd, ac yn enwog fel rhwymydd, trwy arllwys o'r ymysgaroedd yr hyn a fydd yn achosi y dolur rhydd. Fe'i cymerir yn y dogn o un i ddau scruple mewn ychydig o dê mintys, at yr hyn y gellir chwanegu deg gronyn o *magnesia* pan y byddo surni yn y cylla.

Cymysg o un scruple o *rhubarb*, a'r un faint o *magnesia* a dau ddram o *tincture of cardamonis*, a dwy owns o *dill water*, mewn dogn o lonaid llwy dê

nos a boreu, a fydd yn fuddiol iawn i symud ymaith yr anhwylderau ag y mae plant yn dueddol iddynt trwy ormodedd o surni yn y cylla a'r ymysgaroedd.

## JALAP

Mewn dogn o scruple i hanner dram, neu scruple gwedi ei gymysgu â chwarter owns o *tincture of senna* ac owns o *peppermint water*, sy'n feddyginiaeth garthiadol effeithiol yn y dyfrglwyf a bolrwymedd, mewn personau o gyfansoddiad cryf, ond i bersonau gwanllyd, hanner y ddogn o *jalap* a'r un faint o *rhubarb*, a fydd yn fwy buddiol, gan nad yw *jalap* yn effeithio cystal fel carthiedydd, lle y byddo gwendid mawr, ond yn peri bolgnofeydd tost, a phrin hefyd y mae yn cael dim effaith ar bersonau ag sydd yn cael eu blino gan yr afiechyd a elwir iselder ysbryd.

## RHATANY ROOT.

Y mae gwraidd *rhatany* yn fwy dymunol i'r archwaeth na'r *Peruvian bark*, ac yn gryfhawr rhagorol i'r cylla pan ag y byddo y cleifion yn methu cymeryd y barc. Y mae yn feddyginiaeth efieithiol yn y dolur rhydd a chlefyd y gwaed. Pan ag y bo gwendid mawr o'r corph, a syrthni yn y cyfansoddiad gewynol, y mae yn effeithio yn gyflymach na'r *Peruvian bark*. Fe'i harferir hefyd i attal i'r dannedd fyned yn rhydd, ac i'w gwneud yn ddiysgog ar ol iddynt ryddhau. Gellir ei gymeryd yn y dogn o ddeg gronyn i hanner dram, dair gwaith yn y

dydd, mewn dwfr neu dê mintys; neu gellir cymeryd *rhatany* yn y dull canlynol:—

Extract of rhatany, dau ddram
Tincture of rhatany, un owns
Camphor julep, saith owns

Cymysgwch.

Llonaid llwy fwrdd neu ddwy yw gymeryd dair gwaith yn y dydd rhag annhreuliad bwyd, gwyntchwydd, dolur rhydd, cryd a phoenau gewynol (*nervous irritation*).

## LENITIVE ELECTUARY

Sydd yn feddyginiaeth ragorol o dda i gadw y corph yn agored yn nghlwy' y marchogion *(piles)*; ac a ellir ei gymeryd yn y dogn o lonaid llwy dê i ddwy bob nos neu bob yn eilnos. Os cymerir yr un faint o *flower of brimstone* gydag ef, chwanega hyny ei effaith neu ei rinwedd.

## TINCTURE OF ASSAFŒTIDA

Yn y mesur o hanner i lonaid llwy dê mewn gwydraid o ddwfr, a arferir yn llwyddiannus fel meddyginiaeth i iselder ysbryd, *hysterics*, llewygon, ac amrywiol achwynion gewynol *(nervous affections)*, y diffyg anadl, a'r pâs.

Cymysg o un owns o'r *tincture assafœtida* a dwy owns o *paregoric elixir*, mewn dogn o lonaid llwy dê, a fydd yn dra llesol i'r *asthma* neu hen ddiffyg anadl, trwy dori gwynt a chymhell peswch-boeriad. Yn y pâs, pan na byddo ennyniad neu dwymyn, fe

fydd yn dra llesol mewn dognau addas i oedran y claf, sef o ddau i bedwar dyferyn i blant o flwydd i ddwy flwydd oed.

## ROCHE'S EMBRACATION

Sydd gymysgedd effeithiol rhag y pâs, ac a wneir i fynu o oil of amber, tri dram; oil of cloves, un dram; oil of olives, un owns. Cymysger, ac irer dwyfron y claf âg ef nos a boreu.

## SQUILL PILL,

Yn y dogn o ddeg i bymtheg gronyn, i'w gymeryd nos a boreu, sydd yn feddyginiaeth bwerus i annog peswch-boeriad, ac i chwanegu y lleisw, mewn hen beswch a diffyg anadl, ac mewn achwynion dyfrglwyfus (*dropsical affections*).

## FLOWER OF BRIMSTONE,

Yn y dogn o hanner dram i ddram, sydd yn feddyginiaeth werthfawr mewn tarddiadau croenaidd ac anmhuredd yn y gwaed, clwy'r marchogion, a'r cryd cymmalau hir-barhaus (*chronic rheumatism*).

Gellir ei arfer yn allanol a thufewnol mewn tarddiadau croenaidd a'r cryd cymmalau, sef iro â'r eli a wneir o hono bob nos, yn y tarddiadau croenaidd, tra byddo y claf yn ei gymeryd, neu hyd nes y gwellhao y tarddiad. Y powdr, yn sych, a ganmolir yn fawr i rwbio yr aelod âg ef bob nos, hyd nes y poetho. Y mae hyn wedi rhoddi esmwythder mawr i lawer ar ol i foddion ereill fethu, ond dylid cofio

fod yn rhaid ei gymeryd am hir o amser mewn afiechyd mor anhawdd ei wellhau ag yw y cryd cymmalau parhaus; ond ni wna hyny ddim tlodi llawer ar neb.

## BASILIC POWDER

Sydd yn feddyginiaeth dda rhag pob math o lyngyr. Fe ellir ei roddi i blant o bob oedran mewn mêl, bob yn ail neu drydydd boreu, yn y dogn o dri gronyn i blentyn blwydd oed, gan chwanegu un gronyn at bob blwydd o oed y claf; hyny yw, geill dynion a fyddo mewn cyflawn oed gymeryd o ugain i bum gronyn ar hugain o hono. Y mae yn feddyginiaeth garthiadol dda i blant mewn achwynion ereill, pan y bydd meddyginiaeth gref yn anghenrheidiol er agoryd y corph. Y mae yr un modd yn fuddiol i bobl mewn oed mewn bolrwymiad a'r dyfrglwyf, heblaw i ladd y llyngyr.

## PEPPERMINT WATER

Sydd yn feddyginiaeth dda yn y gwyntchwydd yn yr ymysgaroedd a'r cylla, yn y dogn o lonaid gwinwydr; fe'i canmolir hefyd yn yr *asthma* wrwstaidd. Y mae yn rhoi esmwythâd buan yn y doluriau a enwyd. Gellir ei wneud trwy gymysgu 30 dyferyn o *essence of peppermint* âg ychydig o siwgr gwyn, mewn peint o ddwfr; a gellir chwanegu ychydig o *frandy* ato, i'r dyben i'w gryfhau a'i wneud yn well at archwaeth cyfeillion Mr. Alcohol. Er fod Dirwestwyr yn dewis yn hytrach yfed *peppermint*

*water* na chwrw, eto, dichon y byddai yn fuddiol i'r rhai a fyddai yn arferol o yfed galwyn neu ddau o gwrw, i beidio cymeryd mor hael o'r ddiod hyfryd hon, rhag ofn ei bod yn un o ffrindiau y gelyn Alcohol.

## PURIFIED NITRE,

Yn y dogn o chwech i ddeg gronyn, yw gymeryd bob pedair awr, a oera y corph, a dỳr syched, ac a chwanega y lleisw, ac a wna i'r gwaed gylchredeg yn arafach mewn anhwylderau ennynol (*inflammatory cases*). Y mae yn feddyginiaeth lesol mewn tarddiadau croenaïdd, ac mewn rhai achosion o'r dyfrglwyf; gellir ei gymeryd mewn dwfr, ac fe'i canmolir hefyd yn y tostedd, wedi ei ddadlaith mewn tê had llîn, neu dê gwraïdd yr hocys (*marshmallows-root*). Oddeutu hanner dram o *nitre* mewn hanner peint o ddwfr a gyfarwyddir yn fawr fel meddyginiaeth olcheneuol (*gargle*) er gwasgaru ennyniad yn y gwddf a'r genau.

## COMPOUND TINCTURE OF ALOES,

Yn y dogn o lonaid llwy dê i ddwy, ddwy waith neu dair yn y dydd, a ganmolir yn fawr yn y clwy' melyn (*jaundice*), a gwendid yn y cylla, annhreuliad bwyd, a'r *gout*, iselder ysbryd, diffyg arlloesiad o'r misglwyf, pan y bydd yn cael ei achosi gan wendid y cyfansoddiad: ei effeithiau llesol sydd yn ymddibynu yn benaf trwy ei fod yn cryfhau y cyllau, ac yn cadw yr ymysgaroedd yn agored, neu yn rhydd.

## DILUTED SULPHURIC ACID.

Mewn dogn o ddeg i bymtheg dyferyn, ddwy waith yn y dydd, mewn gwydraid o ddwfr, sydd yn feddyginiaeth ragorol mewn gwendid a llaesiad y cylla, ac i attal y chwys nosweithiol sydd yn cydfyned a thwymyn barhaus (*hectic fever*), ac fe'i cymmerir hefyd i attal llifiad gwaed o wahanol rannau o'r corph, megys o'r ffroenau, poeri gwaed, a llifiad gormodol o waed yn y misglwyf, &c., yn yr achosion diweddaf, gellir ei gymeryd gyda thrwyth rhosus cochion (*infusion of roses*). Y mae yn dra llesol mewn tarddiadau croenaidd, yn enwedig y gwahanglwyf (*leprosy*), a thân iddwf llygredig (*malignant crysipelas, or St. Anthony's fire.*) Ac fe'i harferir hefyd i olchi y genau a'r gwddf, yn y dolur gwddf llygredig, yn y mesur o ddeg dyferyn ar hugain mewn peint o ddwfr oddiar rhosus cochion, neu ddwfr wedi berwi *Peruvian bark* ynddo.

## DR. JAMES'S FEVER POWDER,

Sydd yn feddyginiaeth werthfawr, yn y dogn o dri i bum gronyn bob pedair awr neu bump, nes y paro chwys mewn twymynon ennynllyd, y cryd cymmalau poeth, peswch diweddar, ennyniad yn yr ysgyfaint. a'r eisglwyf. Ond y mae yn dra niweidiol mewn twymynon isel a llygredig, a'r ddolur gwddf braenol, trwy leihau galluoedd y corph, fe fydd yn dueddol i brysuro y claf i'w derfyniad angeuol. Fe atteba'r *antimonial powder* yr un dyben pan ag y gellir ei gael yn bur, ac o iawn wneuthuriad.

## PREPARED SODA

A ganmolir yn fawr fel meddyginiaeth pan y byddo gwendid a surni yn y cylla, a'r dwfr poeth, ac hefyd yn y llechi, clwy'r brenin, a chwyddiadau celyd, pâs, clwy' melyn, graian, y gareg, a'r *gout* Gellir ei gymeryd yn y dull canlynol, sef dram o hono gwedi ei ddadlaith mewn chwart o ddwfr distylledig; llonaid gwin wydr i'w gymeryd dair gwaith yn y dydd; dylid leihau y dogn i blant yn ol eu hoed pan y rhoddir rhag y llechi neu'r pâs. Fe'i harferir i wrthwynebu effeithiau gwenwynig *arsenic*, ond y mae *chalk* yn rhagori arno, ac yn fwy diogel i'w gymeryd mewn dognau mor fawr ag y dylid ei gymeryd rhag gwenwyn mor gryf ag *arsenic*.

## SENNA.

Y mae dail *senna* yn cael eu harfer yn fynych mewn meddyginiaeth deuluaidd, fel carthiedydd i bobl mewn oed a phlant, mewn bolrwymiad. Ac y mae yn fynych yn agor y corph yn mhen pedair awr ar ol ei gymeryd. Gellir ei gymeryd yn y dull canlynol, trwy fwydo chwarter owns o ddail *senna* â'r un faint o had *coriander*, mewn hanner peint o ddwfr poeth am ddwy awr, ac yna ei hidlo, ac fe ellir ychwanegu ato hanner owns o *Rochelle* neu *Epsom Salts*, ac owns o *tincture senna* i'r dyben i'w wneud yn fwy effeithiol; o'r cymysgiad hwn gellir cymeryd llonaid gwin wydr bob dwy neu dair awr, hyd oni weithio.

## COMPOUND SPIRITS OF LAVENDER,

Yn y dogn o lonaid llwy dê, dair gwaith yn y dydd, ar siwgr neu mewn gwydraid o win, a ganmolir mewn llewygon, llesgedd a gwendid y gewynau, iselder ysbryd, a'r parlys, a dychlamiad y galon pan y cyfoda oddiar wendid a diffyg galluoedd y gewynau.

## TINCTURE OF VALERIAN,

Yn y dogn o ddeg i ugain dyferyn, i blant o ddwy i dair blwydd, a gymeradwyir yn fawr fel meddyginiaeth rhag ffitiau *(convulsions)*, a *St. Vitus's dance*, a'r haint ddigwydd; yn y dogn o un i ddwy lonaid llwy dê i bobl mewn oed, a ganmolir mewn anhwylderau gewynol *(nervous affections)*, megys iselder ysbryd, *hysterics*, a dolur pen gewynol *(nervous headache)*.

## TINCTURE OF GENTIAN ROOT,

Yn y dogn o ddwy i dair llonaid llwy dê, dair gwaith yn y dydd, a ganmolir yn fawr er cryfhau y cylla, pan y bydd diffyg treuliad y bwyd. Fe'i cymeradwyir yn y *gout*, clwyf melyn, glasglwyf (*green-sickness*), dyfrglwyf, a'r dolur rhydd, ac yn mhob achos ag y dylid rhoddi meddyginiaeth gryfhaol; gellir gwneyd y cymysgiad canlynol i'w gymeryd yn yr achosion a enwyd:—

Tincture gentian, un owns
Tincture rhubarb, un owns
Infusion of orangepeel, chwe owns.

Llonaid llwy fwrdd i'w gymeryd dair neu bedair gwaith yn y dydd.

## MANNA

A roddir i blant a phobl weiniaid, fel meddyginiaeth dyner i agor y corph. Gellir rhoddi dram o hono i blentyn o ddwy i bedair blwydd oed, ac o hanner owns i owns i bobl mewn cyflawn oed. Gellir ei gymeryd wedi ei doddi mewn dwfr, neu dê *senna*, i'r dyben iddo effeithio yn fwy grymus ar yr ymysgaroedd.

## OXYMEL OF SQUILL

A gymerir yn y dogn o lonaid llwy dê i ddwy, i annog peswch-boeriad, mewn hen beswch a diffyg anadl, yn fwyaf cyffredin yr *asthma* îr, neu *humour asthma;* ac fe'i rhoddir hefyd fel cyfogydd i blant rhag y pas, ac i lanhau y frest, ac i godi y fflèms i fynu.

## SYRUP OF BALSAM OF TOLU,

Yn y dogn o ddwy lonaid llwy dê i lonaid llwy fwrdd, a gymerir mewn hen beswch a diffyg anadl. Ond pan y byddo gwres neu ennyniad yn yr ysgyfaint, ni fydd yn feddyginiaeth addas mewn darfodedigaeth ysgyfeinniawl (*consumption of the lungs*). Er fod *balsam tolu* yn fynych yn un o brif feddyginiaeth yn y rhai a gyhoeddir *patent medicines* rhag yr afiechyd hwnw, fel ag y mae lle i ofni fod llawer o'r cleifion yn twyllo eu hunain â gwag-obaith wrth eu cymeryd.

## MUSK.

Y mae mwsg yn feddyginiaeth werthfawr mewn afiechyd wrwstaidd (*spasmodic*). Y mae yn cryfhau cylchrediad y gwaed, ac yn attal y *cramp* mewn gwahanol ranau o'r corph, ac yn chwanegu galluoedd yr ymenydd a'r gewynau; fe'i rhoddir gyda llwyddiant yn niwedd y *typhus fever*, pan y byddo galluoedd y corph wedi myned yn wanllyd iawn, ac i attal yr eigian. Pan ag y gweinyddir gydag *ammonia*, y mae yn un o'r moddion goreu i attal marw-lygriad. Fe wna hefyd attal cyfog, ac esmwythâu y coluddion yn y *cholera morbus*. Y mae hefyd yn feddyginiaeth werthfawr yn yr haint ddygwydd (*epilepsy*), pan ag y rhoddir gyda meddyginiaeth ryddhaol. Fe'i canmolir hefyd i adferu y clyw, trwy roddi ychydig o hono ar gotwm yn y glust, pan y byddo y gewyn gwedi marweiddio. Y mae y Tonquinese yn arfer rhoddi mwsg a *cinnibar* mewn *arrack* rhag y gynddaredd, ar ol brathiad cwn cynddeiriog. Ond nid yw gwedi llwyddo yn y wlad hon, er rhoddi cynnyg teg arno.

## CAMPHOR,

Mewn dognau cymhedrol o ddau i dri gronyn, a gryfha y galon, ac a chwanega wres y corph, a chylch-rediad y gwaed. Mewn dognau helaethach y mae yn annog cwsg, yn lleihau poen, ac yn attal anhwylderau gwrwstaidd (*spasmodic affections*): ond os bydd y dogn yn ormodol, fe achosa gyfog, gwall-

gofrwydd, dirdyniadau, ac effeithiau gwenwynllyd ereill. Y ffordd oreu a chyffredin o weinyddu *camphor*, yw ei gymysgu â dwfr gyda *gum arabic* a siwgr, ac a elwir CAMPHOR JULAP, yr hyn a wneir fel y canlyn:—

Cymerwch o camphor, ugain gronyn
gwirod gwin, ugain dyferyn
siwgr gwyn, dau ddram
gum arabic, dau ddram.

Rhwbiwch y *camphor* yn gyntaf gyda'r gwirod, yna y siwgr a'r *gum arabic*, a phan y byddo gwedi ei gymysgu yn dda, arlloeswch arno yn raddol beint o ddwfr berwedig, gan barhau i'w rwbio tra yr arlloesir yr holl ddwfr arno, yna ei orchuddio; a phan oero, ei hidlo trwy garth neu liain.

Cymysg o chwech owns o *camphor julap* a dwy owns o *spirits mindererus*, a hanner owns o *spirits nitre*, i'w cymeryd yn y ddogn o ddwy lonaid llwy fwrdd bob tair neu bedair awr, sydd yn feddyginiaeth chwysiadol dda yn y frech goch a'r frech wen, a thwymynon isel. Ac fe fydd y gymysgedd uchod yn llesol mewn clefydau ennynol ond ychwanegu dau ddram o *antimonial wine* at y cymysgiad. Mewn clefydau llygredig a braenol, megys dolur gwddf, llygriad, a marw-lygriad, fe fydd y gymysgedd ganlynol yn rhagorol o dda:—

Camphor julap, chwe owns
Compound tincture of bark, dwy owns
Tincture capsicium, dau ddram.

Llonaid llwy fwrdd neu ddwy, yn ol oedran y claf,

i'w gymeryd bob tair neu bedair awr. Mewn anhwylderau yn nghyfansoddiad y gewynau (*nervous affections*), dwy lonaid llwy fwrdd o'r *camphor julap*, a llonaid llwy dê o *volatile tincture of valerian*, a ellir ei gymeryd dair gwaith, gyda mantais fawr. Mewn gwallgofrwydd a phenwendid, cydfynedol â thwymyn isel, *camphor julap* a lwydda yn gyffredin i beri cwsg, pan fetha *laudanum*. Ond dylid bod yn ochelgar rhag rhoddi *camphor* pan ag y byddo ymchweliad gormodol o waed i'r pen.

*Camphor* a arferir yn allanol i esmwythâu poenau yn yr aelodau, megys y cryd cymmalau, &c. gwedi ei ddadlaith mewn *spirits of wine*, *sweet oil*, neu mewn *spirits of turpentine*, os bydd y rhanau gofidus yn oer. Ychydig o *gamphor* ac *opium*, wedi ei wneud yn belen, a'i rhoddi yn nhwll y dant, a ddofa y ddannodd, neu *gamphor* wedi ei doddi mewn *spirits of turpentine* a rydd esmwythâd uniongyrchol.

## COMPOUND COLOCYNTH PILL, NEU PILLCOCIA,

Yn y dogn o ddeg gronyn i bymtheg, sydd yn feddyginiaeth garthiadol ragorol mewn bolrwymiad parhaus, a'i gymeryd ddwy waith neu dair yn yr wythnos. Y mae hefyd yn llesol yn y dolur pen, a gyfoda oddiwrth ormodedd o waed yn yr ymenydd. Y maent yn rhagori ar lawer o gyffuriau a arferir er agoryd y corph, o ran parhad eu heffaith wrth eu hir gymeryd; ac y maent yn llawer mwy diogel a di-

berygl i'w cymeryd rhag gwanhau y cyfansoddiad na Morrison's Pills, ac ereill a gyhoeddir gan hudolwyr.

## DWFR CALCH.—(*Lime Water.*)

A wneir trwy roddi chwarter pwys o galch newydd ei losgi mewn llestr pridd, a rhoddi chwarter peint o ddwfr arno, a phan y bydd iddo slacio rhodder chwe pheint o ddwfr arno, a gorchuddier wyneb y llestr; cymysger hwy bob tro ar ol i'r calch waelodi, am ddeng waith neu ddeuddeg, yna arlloeser a hidler y dwfr oddiar y calch yn lân ar ol iddo sefyll am awr, a rhodder ef mewn potelau, gan eu corcio yn dda.

Y mae dwfr calch yn feddyginiaeth lesol rhag y llyngyr a rhag surni yn y cylla, yn y dogn o lonaid llwy fwrdd i lonaid gwin wydr ddwy waith yn y dydd; gellir ei gymysgu â llaeth er mwyn iddo orphwys yn well yn y cylla. Yr un faint o ddwfr calch a *linseed oil*, wedi eu cymysgu, a wna enaint rhagorol i wellhau llosg; fe wna sychu y llosgiad a rhwystro iddo dyfu yn rhy uchel i achosi creithiau.

## CREAM OF TARTAR,

Mewn dognau bychain o scruple i hanner dram, sydd yn feddyginiaeth ryddhaol, oer, a thirion, ac a chwanega y lleisw; ac fe'i canmolir hefyd mewn dognau mawrion, o hanner owns i owns yn y dydd, fel carthiedydd cryf ac effeithiol yn y dyfrglwyf, pan ag y byddo croniad o ddwfr yn y bol; ond gan ei fod mor dueddol i wanhau y cyfansoddiad mewn

dognau mawrion, fe ddylid rhoddi meddyginiaeth gryfhaol ar ol ei arfer dros ychydig o amser, neu bob yn ail ag ef. Gellir cymeryd *cream of tartar* naill ai gwedi ei doddi mewn dwfr neu gwedi ei gymysgu â mel.

DIWEDD.

---

CAERNARFON: ARGRAFFWYD GAN W. POTTER & CO.